# Gwaith Barddonawl

Y DIWEDDAR

# BARCH. JOHN JONES, M.A.

## Tegid,

GYNT YN BRIFGANTAWR CHRIST CHURCH RHYDYCHAIN, A CHURAD PARHAUS ST. THOMAS YN Y DREF HONO; GWEDI HYNY YN BERIGLAWR NANHYFER, SWYDD BENFRO, A PHREBENDUR EGLWYS GADEIRIOL TY DEWI: YNGHYD A

## Bywgraffiad o'r Awdwr:

DAN OLYGIAD

Y PARCH. HENRY ROBERTS, M.A.

CHRIST CHURCH, RHYDYCHAIN,

A CHURAD LLANGYNDEYRN, SWYDD GAERFYRDDIN.




LLANYMDDYFRI,

W. REES; LLUNDAIN, LONGMAN A'I GYF.

MDCCCLIX.

IDD Y GWIR ANRHYDEDDUS

YR ARGLWYDDES LLANOVER,

Y CYFLWYNIR

**Gwaith Barddonawl Tegid,**

GYDA PHARCH DIFFUANT

TUAG AT EI HARGLWYDDIAETH,

GAN EI HUFYDDAF WAS,

Y GOLYGYDD.

# RHAGYMADRODD.

Cyflawnwyd hyd ag y gellid gan Olygydd y Cyfrol hwn, beth ydoedd dymuniad yr Awdur ei hun gwblhâu yn yspaid ei fywyd. Bwriadai aml waith gasglu ynghyd a chyhoeddi ei gyfansoddiadau Awenyddol; eithr er mynych sôn am anrhegu ei gyd wladwyr â hwynt, ni wnaeth efe hyd ddydd ei farwolaeth, ond ychydig ddarpariad ar gyfer hyny. A chan na fu erioed yn ofalus i wneuthur adysgrif o'i waith, mae llawer yn ddiamheu wedi myned ar goll, a llawer hwyrach wedi ei argraffu yn unig yn nghof amrai o'i gyfeillion a'i gydnabyddion.

Dymuna y Golygydd hysbysu gyda diolchgarwch ei rwymedigaeth i'r Parch. J. Williams Ab Ithel, M.A. Periglor Llanymowddwy, yr hwn a ychwanegodd at ei amryw orchwylion er budd ei genedl, y llafur-waith caredig o fanwl ddarllen a diwygio prawf-leni y Gwaith Barddonawl oll, fel y daethent allan o'r Wasg.

*Alban Hefin*, 1859.

# CYNNWYSIAD.

## AWDLAU.



## ENGLYNION.

## CYWYDDAU.

## MARWNADAU.



## AMRYWIAETHAU.

## BEDD-ARGRAFFIADAU.



## EMYNAU.

# BYWGRAFFIAD YR AWDUR.

---

YMHLITH rhai teilwng o goffadwriaeth yn nghofrestr ENWOGION CYMRU, o herwydd eu dysg a'u doniau, mae Awdur y Cyfrol hwn yn haeddu lle parchus megys un a adwaenid fel Bardd ac fel Ysgolhaig ar hyd a lled gwlad ei enedigaeth, yn well hwyrach no neb arall o'i gyfoedion.

Yn y bywgraffiad canlynol nid ydys yn bwriadu rhoddi ond byr gofiant am dano. Er mae dyfyr yn ddïau a buddiol fyddai y gorchwyl, anhawdd ydyw rhoddi hanes cyflawn o'i fywyd yn gymmaint ag na adawodd y cyfryw olion angenrheidiol a alluogai yr ysgrifenydd i ymhelaethu llawer ar y pwnc.

Ganwyd yr Awdur ar y 10fed o Chwefror, 1792, yn y Bala, ger "Môr mawr Meirion," o'r hwn lyn y cymmerodd ei enw barddonol TEGID. Enwau ei rieni oeddent HENRY a CATHERINE JONES,* ac efe ydoedd eu hail fab.

Danfonwyd ef i amryw ysgolion pan yn ieuanc iawn, ond ni chafodd fawr o addysg oddi wrth ei Athrawon, oddieithr mewn rhifyddiaeth, nes myned yn 1812 i ysgol y Parch. D. PETER yn Nghaerfyrddin, lle y dechreuodd ddysgu Lladin a Groeg. Y flwyddyn ganlynol symudwyd ef i Ysgol y Parch. Thomas Price yn yr un dref. Bu yno ddeunaw mis, ac yna dychwelodd i'r Bala.

Gwedi bod mewn amryw ysgolion, derbyniwyd ef ar y 13eg o Ragfyr, 1814, yn aelod o Goleg Iesu, Rhydychain.

* Gwel ardeb fy Mam, t. d. 132.

Penaeth y Coleg y pryd hwnw ydoedd y Dr. D. Hughes, gwr o Lanrwst, yr hwn a fu yn noddwr iddo oblegid ei wybodaeth o'r Gymraeg, a'i fawr gariad at yr iaith hono a'i hynafiaethau. Yn llyfrgell y Coleg mae amrai hen lawysgrifau Cymreig, megys y Llyfr Coch o Hergest, a. r. c., a thra bu yno yr oedd yn cael dywenydd neillduol wrth eu darllen a gwneuthur adysgrif o honynt. Yno hefyd y dechreuodd y cyfeillach gwresog, a hanfododd cyd-rhyngddo â DANIEL DDU o Geredigion, tra fu y Bardd doniol hwnw byw, oddieithr un anghydfod † llym, ond o fyr barhad, "canys hawdd cymmod lle bo cariad."

Yn fuan gwedi myned o hono i Rydychain, ysgrifenai fel hyn at gyfaill yn Nghymru :—"Yr ydwyf yn bresenawl yn nghanol dysgedigion y byd, lle y mae ffynon dysgeidiaeth yn chwyddaw ac yn dylifaw dros y ceulanydd; ac yr ydwyf finnau yn dechreu teimlaw y dwfr yn chwareu ac yn bwrlymu amgylch ogylch fy nhraed." "A gaf fi," meddai dro arall, "gamddefnyddiaw y perwyl presenawl? Na ato DUW! ond yn hytrach drwy i mi gael fy nghosod fel hyn, bydded i mi gaffael rhyw wybodaeth fuddiawl a llesawl." Pryd arall dywedai:—"Yr wyf yn foddlawn i roddi fy hunan yn gwbl oll i DDUW i wneud a welo EFE yn dda â myfi.......Gan iddo weled yn dda i'm dwyn i'r lle dysgedig hwn, bydded i'w nawdd i'm dilyn ar fy holl lafur, canys ni thycia dim heb ei fendith EF......Da iawn genyf adgoffâu yn fy meddwl, y cynghor a roddes y Parch. D. HUGHES, Periglor LLANFYLLIN, 'Cais y doethineb sydd oddi uchod. Pan gerddech, hi a'th arweina; pan gysgech, hi a'th wylia; pan deffroech, hi a ymddyddan â thi.'" Parodd y cynghor hwn iddo gyfansoddi y pennillion hyn ar "Ddoethineb."

O ARGLWYDD DDUW tragwyddawl,
Creawdwr nef a llawr!
A Rhoddwr pob daioni
Rho glust i mi yn awr.

† Gwel Englyn y Cymmod, a Chywyddau y Cymmod, t. d. 100.

'Rwy 'n gofyn o fy nghalon
  Am y ddoethineb hon,
Fel gallwyf gael rhyw gysur
  Wrth rodio 'r ddaiar gron.

O Arglwydd! dod ddoethineb
  A deall gyda hi,
Fel gallwyf fod o ddefnydd
  O fewn dy Eglwys Di.
O'm cwmpas mae teganau
  Fil myrdd i ddenu 'm mryd:
Am hyny dod ddoethineb
  Tra byddwyf yn y byd.

Pan ddygwydd i mi gerdded
  Boed hon i'm harwain i;
Pan gysgwyf yn y cyfnos
  I'm gwylied bydded hi:
Pan ddeffrwyf yn y bore
  Yn dawel gyda'r wawr,
Doethineb bydded yno
  I 'nddyddan lawer awr.

Wrth ddarllen ac astudiaw,
  Doethineb dod fy Nuw
Er mwyn i'm brynu 'r amser,
  Doethineb i mi fyw;
Fel gallwyf fi dy ofni
  A'th barchu yn y byd.
Doethineb yn fy meddiant
  I'm tywys i o hyd.

Gwedi treulio yr amser arferol yn y Coleg, cafodd ei restru yn yr ail ddosparth yn Mesuroniaeth, (*Mathematics,*) yn Nherm Gwyl Mihangel, 1818, a chymmerodd y radd o B.A. Y flwyddyn ganlynawl anrhegwyd ef â Chaplaniaeth, yn *Christ Church* gan y Dr. Hall, Dëon y lle y pryd hwnw, ac urddwyd ef gan y Dr. Legge, Esgob Rhydychain, yn Ddiacon ar Sul y Drindod, ac yn Offeiriad ar y 19eg o Ragfyr, 1819.

Yn hâf y flwyddyn hon bwriadai fyned i'r India Ddwyreiniol, fel Athraw yng Ngholeg newydd Calcutta. Pan wybu DANIEL DDU am y bwriad hwn o eiddo ei frawd awenyddol, cyfansoddodd bennillion * er ei ddenu i beidio ag ymadael â "Gwlad ei Enedigaeth," gan ei ddarlunio fel yn cwynfan yn y fro bellenig hono. Yr oedd rhesymau y BARDD DU mor gadarn fel y nacäodd TEGID fyned i'r India. "Dy resymau" meddai yn ei ateb, i 'Wlad fy Ngenedigaeth.'

"Ynt mor gryfion
Maent i mi màl dur-forthwylion:
Peraist im' er pob ystyriaeth,
Fyw yn Ngwlad fy Ngenedigaeth."

Yn Nhachwedd 1823, penodwyd ef yn Brifgantawr *Christ Church*, ac ar yr 21ain o'r mis hwnw, trwyddedwyd ef i Guradiaeth parhaus St. Thomas, yn yr un ddinas. Trwy ei ymdrechiadau halaethwyd yr Eglwys blwyfol, ac ail-adeiladwyd rhan o honi. Llwyddodd hefyd i sychu y fynwent, yr hon oedd yn wleb, lle gwelwyd

"Ar ol llifeiriant cryf
Y dwr yn toi y beddau,."

ac i'w helaethu a'i mawr harddu. Mae olion o'i lafur a'i gur er lleshâd ei blwyfolion, i'w canfod yn gyfagos i'r Eglwys, sef dau ysgoldŷ hardd ac ëang, un i fechgyn, a'r llall i enethod. Bu yn gweinidogaethu yn St. Thomas dros ddeunaw mlynedd, a gadawodd ar ei ol adgofion perfelus am dano ymhlith trigolion y plwyf.

Llawer gwaith tra yn preswylio yn RHYDYCHAIN, taer ddymunai gael bywiolaeth yn NGHYMRU, canys yn "Ngwyllt Walia" yr oedd ei galon, er cartrefu o hono gynnifer blwyddyn yn Lloegr; a chafodd ei ewyllys mewn modd annysgwyliadwy ganddo, ac heb yr ymdrech leiaf o eiddo ei hun i'r perwyl hyny. Trwy hynawsedd Arglwyddes LLANOVER yn dadleu

* Gwel t. d. 156.

ei deilyngdod, penodwyd ef gan yr Arglwydd Ganghellydd COTTENHAM i Ficeriaeth NANHYFER, (Nevern) yn swydd Benfro, ar 27ain o Awst, 1841. Parodd y dyrchafiad hwn lawenydd mawr iddo, ond buasai yn fwy pe cwmpasai ei goelbren yn MEIRION, canys yno y chwenychai fyw. Yn 1848 y Gwir Barch. Esgob THIRLWALL, yr hwn oedd yn ei barchu yn fawr, a ddangosodd ei ewyllys da tuag ato, trwy ei ddyrchafu i fod yn Brebendur yn Eglwys Gadeiriol TY DEWI.

Mae yr aml wobrau a ennillodd TEGID yn yr Eisteddfodau, yn dŷst o'i gymmeradwyaeth fel Bardd, a'i ysgrifeniadau eraill yn profi ei fedrusrwydd fel ysgolhaig. Hynododd ei gymmeriad fel Hebrëwr dysgedig, drwy gyfieithu o'r iaith wreiddiol i'r Seisnaeg, Lyfr y Prophwyd ESAIAH.* Derbyniodd y cyfieithad hwn ganmoliaeth uchel yr ysgolheigion medrus GESENIUS, o Brifysgol HALLE ; ac EWALD, o Brifysgol TUBINGEN yn yr Almaen ; a'r enwog Dr. PRICHARD o GAERODOR. Dygwyd allan ail-argraffiad o'r Llyfr hwn yn 1842. Gorphenodd hefyd gyfieithad o'r un llyfr i'r Cymraeg, ond ni chafodd ei argraffu er y bwriadai yr Awdur ei gyhoeddi pe arbedid ei fywyd.

Mewn cyssylltiad a'r diweddar Barch. WALTER DAVIES, Ficer Llanrhaiadr-yn-Mochnant, arolygodd argraffiad o waith y Bardd Cymreig LEWIS GLYN COTHI, † yr hwn a flodeuodd yn nheyrnasiadau Harri VI. Edward IV. Richard III. a Harri VII. Fel rhagarweiniad i'r gwaith, ysgrifenodd draethawd yn cynnwys hanes eglurhaol o'r rhyfeloedd rhwng tai CAEREFRAWG a LANCASTER, a elwir yn gyffredin "Rhyfeloedd y Rhosynau."

Bu er ei ieneuctid yn frwdfrydig dros y Gymraeg, ac arferai ysgrifenu llawer ynghylch yr Iaith hono, yn y Cyhoeddiadau Cymreig a Saesnaeg, yn gystal ag mewn Traethodau.‡ Yn 1828, cyhoeddodd argraffiad o'r Testament newydd, yn yr

* The Book of the Prophet Isaiah. Oxford, 1830.
† The Poetical Works of Lewis Glyn Cothi. Oxford, 1837.
‡ Gwel Traethawd ar Gadwedigaeth yr Iaith Gymraeg. Caerfyrddin, 1820. Traethawd ar iawn Llythyraeth yr Iaith Gymraeg. Rhydychain, 1830.

hwn y gwrthodir y cydseiniaid diangenrhaid ag sydd yn hen argraffiad y Bibl (1809.) Parodd y cyhoeddiad hwn gryn gyffroad trwy GYMRU oll, ac ysgrifenodd y diweddar Barchedigion J. ROBERTS, Tremeirchion, a BRUCE KNIGHT, Canghellydd Llandaf, draethodau yn erbyn y drefniant ddiwygiedig ag a fabwysiadai TEGID oblegid mai unol ydoedd ag ansawdd y Iaith Gymraeg yn ol ei farn ef ac amrai o ddysgedigion CYMRU. Yn erbyn yr ymosodwyr hyn efe a amddiffynodd ei hun a'i drefniant † yn gadarn, a chefnogwyd ef gan rai o brif ysgolheigion CYMRU, megys y Dr. W. OWEN PUGHE, a'r Parchedigion WALTER DAVIES, (*Gwallter Mechain,)* R. WILLIAMS, Ysceifiog, a H. PARRY, Llanasa. Cafodd y Cyhoeddiad diwygiedig ledaeniad tra helaeth, fel y gorfu dwyn allan o'r wasg bedwar argraffiad o hono, yn cynnwys yn gyfangwbl 17,000 o gyfrolau, a buasai y BIBL oll wedi ei gyhoeddi ar yr un drefn o Lythereniad gan y Gymdeithas er taenu gwybodaeth Gristionogol, oni bai ymdrechion amddiffynwyr yr hen lythyraeth gydâg Esgobion CYMRU i nacau eu caniatad a'u nawdd i'r gorchwyl.

Danfonwyd hefyd dwy ddeiseb i'r Gymdeithas yn erbyn y drefniant newydd o'i eiddo, y naill gan Esgob BANGOR, a 73 o Offeiriaid, a'r llall gan y Canghellydd, BRUCE KNIGHT, a 80 o Offeiriaid Llandaf. Mae yn sicr bod amrai o'r deisebwyr yn anwybodus o'r peth y gwrthwynebent, ac nad oeddent ddim wedi gweled yr argraffiad pan dorasant eu henwau ar y deisebau.§

† A defence of the Reformed System of Welsh Orthography. A Reply to the Rev. W. B. Knight's "Remarks," 1831.

§ "Your Lordship will no doubt be amused at the following circumstance. I went to Holyhead......and on my return spent a day at Bangor, when I called on Mr. J. who lost no time in communicating to me, that I was in a sad predicament; that about 75 Clergymen of the diocese of Bangor had signed a memorial against my edition of the New Testament, and that he likewise had done so. On my asking him his reason, he said, 'I thought I might as well put my name down as not, for I saw that several whom I knew had signed the Memorial.' I then asked if he ever saw the Testament. He replied 'No, I never saw it, and I am not aware that any of the others have seen it any more than myself.' I then became anxious to know with whom the Memorial had originated, and he said with Mr. H. M., whereupon I made up my mind to wait on Mr. M. who received me very politely. I asked him if my informant were

I un a fu gynnifer blwyddyn yn cyfaneddu mewn cyfryw ddinas â Rhydychain, cyfnewidiad yn wir oedd cartrefu mewn plwyf gwladol. Teimlai y gwahaniaeth am dro gwedi sefydlu yn Nanhyfer, a gofidiai lawer gwaith oblegid colli cymdeithas ei aml gydnabyddion gynt. Mor anhawdd ydyw dileu hen adgofion! Eithr cafodd fwy o amser iddo ei hun yn y wlad noc oedd ganddo o'r blaen, a defnyddiai hwn trwy ymroddi i ddarllen. Byddai wrth ei fodd ymhlith ei lyfrau, ac er eu mwynhau, arferai fore-godi a hyny amlwaith gyda'r wawr. Fel hyn y treuliai y rhan fwyaf o'r dydd, ac hefyd mewn ysgrifenu, canys yr oedd ganddo nifer liosog o ohebwyr. Heblaw hyn, yr oedd yn cael dyfyrwch neillduol mewn olion hynafiaethol, am ba rai y chwiliai yn ddyfal yn y cwmpasoedd. Rhoddai gresaw caredig i bob un a alwai yn ei dŷ, ac os deuai neb ato, fel y gwnai amrai o ffordd bell, er mai anadnabyddus oeddent iddo o'r blaen, nid oedd llythyr o gymmeradwyaeth yn angenrheidiol, eithr derbyniai hwynt oll gyda charedigrwydd. Yr oedd yn noddwr i bawb a chwenychent wneud cynnydd mewn dysgeidiaeth, ac yn enwedig dysgeidiaeth Awenyddol. Trwy ei gymmeriad cariadlawn a boneddigaidd, ennillodd nid yn unig serch ei gydraddion a'r rhai îs eu cyflwr noc ef, eithr gallai restru ymhlith nifer ei gyfeillion, lawer o enwogion a gwŷr urddasol. Y cyfryw yn wir oedd mwyneidd-dra ei ymddygiad a'i ymddyddan fel na allai neb a'i hadwaenai lai no'i garu.

Ond fel y canodd ef ei hun gynt,

"Nid oes
Na dawn, na dysg, na dim a achub dyn
Rhag crafanc angeu."

correct in telling me that he (Mr. M.) had sent a Memorial to the different Clergy for their signature? He allowed it was the case and that Mr. R. had urged him to send it. I then asked him whether he had seen the Testament. He replied in the negative. All he knew about it was, that the word *carai* a shoe-latchet, was spelt in the same way as *carai*, the future tense of *caru*, to love, which he thought would greatly startle every ordinary reader, and therefore he concurred in the propriety of sending the Memorial to the Society for Promoting Christian Knowledge. Unfortunately for Mr. M., the future of *caru*, is *caraf; ceri; cara;* &c. Believe me, my lord, I could not help smiling at his remark, and soon bade him good morning." Dyfyniad o lythyr yr Awdur at y Dr. Lloyd, Esgob Rhydychain. Dyddiedig, Mawrth 31, 1829.

Yn 1851, bu yn ymweled â Rhydychain a Llundain. Y pryd hwnw y dechreuodd glafychu, ac ni fu byth yn holliach wedi dychwelyd adref. Eithr er bod o hono dro mewn afiechyd ac weithiau yn dyoddef poenau llym oddiwrth y clefyd ag oedd wedi ymaflyd ynddo, sef y dwfr-glwyf, daeth ei ymadawiad yn annysgwyliadwy iawn. Bu farw yn Mherson-dŷ Nanhyfer, dydd Sul,* yr 2fed o Fai, 1852, yn yr 61ain flwyddyn o'i oed, er tristwch cyffredinol ei blwyfolion a llïaws y rhai a'i hadwaenent. Llawer a dystiolaethasant ar air ac mewn ysgrifen eu parch tuag at y trancedig, wedi clywed am ei farwolaeth, ond ni ddarluniodd neb ei gymmeriad mor gywir â'r Dr. THIRLWALL, Esgob Tŷ Dewi, yn y geiriau hyawdl a chynnwysfawr hyn :—"I cannot sufficiently express the concern I feel, whether I consider the qualities of his heart or of his head, his private worth, his usefulness in the Church, or his literary undertakings."

* "O blith eraill caf enwi un ffaith neillduol yn dwyn cyssylltiad â marwolaeth y Bardd a'r Gweinidog enwog hwn. Yn ei absenoldeb o'r Eglwys, pan ar ei wely angau, ar fore dydd yr Arglwydd, tra yr oedd Offeiriad cymmydogaethol yn darllen yn ei le yn Llan Nanhyfer, boddwyd llais y darllenydd gan fwyalchen a darawai drwy yr Eglwys accen uchel a pherseiniol yn ddisymwth iawn. Tynnwyd sylw y gwrandawyr at *solo* anarferol yr aderyn, megys ag y darfu i'r eos gynt ddenu sylw yr hen sant duwiol Dewi; a braidd y gallasai yr Offeiriad fyned ym mlaen gyd a'r gwasanaeth am ychydig funudau; a tharawyd pawb â rhyw syndod dieithriol ar yr amser, o herwydd hynodrwydd y digwyddiad. Ar ol dyfod o'r Eglwys cafwyd allan mai ar yr amser hwnnw yn gywir yr ehedodd enaid mawr TEGID o'i gorph i fyd yr ysprydoedd, i ddechreu tôn bereiddach nag a allodd ef na chantorion y ddaear erioed ddyrchafu. Nid wyf fi yma mwy na'r tystion geirwir a adroddasant yr hanes wrthyf, yn credu mewn un coelgrefydd, fel pe buasai yr aderyn gwedi ei anfon yn gennad goruwchnaturiol i weini ar yr achlysur, ac nid wyf ychwaith yn rhyfygu ffugio chwedl mewn perthynas i gyfnod mor sobr ag awr marwolaeth TEGID; ond yr wyf yn unig yn ysgrifenu y gwirionedd fel y cymmerodd le, heb unrhyw esponiad arno o'm dychymmyg fy hun, nac eiddo arall. Eithr yr hyn sydd yn gwneuthur y ffaith yn fwy rhyfeddol yw yr hyn a ganlyn:—Pan yr oedd arch a chorph TEGID yn cael eu gostwng i'r bedd, aderyn (pa un ai yr un ag o'r blaen, nis clywais, ac nis gwn) a esgynodd ar ganghen yn uniongyrchol uwch ben y bedd agored a'r dorf, a chanodd alarnad angladdol hynod o ddifrifol ac effeithiol. Onid iawn oedd hyn? Canodd TEGID lawer i'r adar; a chafwyd un aderyn, o leiaf, mòr gymmwynasgar a chydnabod ei ddiolchgarwch, drwy beroriaethu y farwnad gyntaf, a'r emyn angladdol olaf i TEGID." *Fy ymweliad olaf â Ioan Tegid*, gan y Parch. J. Davis, B.D. Llanhywel, t. d. 376, 377, YR HAUL, 1855.

# Dinystr y Derwyddon

## YN MON;

**YN Y FLWYDDYN LXI O OEDRAN CRIST, GAN FILWYR RHUFAIN O DAN PAULINUS SUETONIUS, RHAGLAW YR AMHERAWDWR NERO YN MHRYDAIN.**

---

**PAULINUS SUETONIUS, Monam insulam, incolis validam, et receptaculum perfugarum, aggredi parat, navesque fabricatur plano alveo, adversus breve et incertum. Sic pedes: equites, vado secuti, aut altiores inter undas, adnantes equis, transmisere.**

**C. Corn. Taciti *Annal.* Lib. xiv. 29.**

## CYNNWYSIAD.

I.

Anwybodaeth o hanes y Derwyddon yn debyg i dywyllwch,—yr Awen, megis gwawr yn ymlid y tywyllwch ymaith; ac yn cymmeryd lle hanes;—y Bardd tan ei harweiniad, yn rhodiaw tir Môn i ymweled â'r gweddillion Derwyddawl.

II.

Ymweliad a'r Bryn Gwyn; ac yno yr Awen yn rhoi bras hanes am ddyfodiad Hu Gadarn i Ynys Prydain; ac yn dangaws oddi ar y Bryn Gwyn y man lle byddai y beirdd ieuainc yn arfer ymgynnull; ac hefyd y ddôl, lle byddai Melwas a'r Dryweeau yn corelwi ar Alban Hefin i groesawu yr haf;—ac yna ar ol hyn y Bardd yn adroddi a wyddai am y Derwyddon.

III.

Y rhan hon o'r Awdl a gynnwysa hanes am y cyffröad, y cynnhwrf, a'r dychryn a barodd ymgyrch milwyr Rhufain trwy yr holl ynys;—y Bardd yn cael ei gariaw yn ol yn ei feddyliau, ac yn canfod megys a'i olygon ei hun y trigolion yn crynhôi yn finteioedd, ac fal yr oedd y Derwyddon, oblegid agosrwydd eu gelynion, a'r Lloer hefyd yn dygwydd bod ar yr un pryd yn llawn lloned, yn aberthu yn groes i'w harfer cyffredin liw nos. Adroddiad o'r arwyddion dychrynllyd a ragflaenent yr Aberth; ac am y Derwyddon a'r Archdderwydd yn myned i aberthu;—gweddi yr Archdderwydd;—ymosodiad disymmwth eu gelynion arnynt; darluniad o'r lladdfa;—ac o'r bore dranoeth.

IV.

Cyfarch Paulinus Suetonius fal yr achoswr o ddinystr y Derwyddon;—ac er iddo ef eu lladd hwynt, na phallodd beirdd i Gymru, na'r iaith Gymraeg;—er mai yn groes i hyn y dygwyddodd iddynt hwy y Rhufeiniaid, o barth eu beirdd, eu hiaith, a'u hawdurdawd.

# AWDL.

## DINYSTR Y DERWYDDON YN MON.[1]

E fu Drywon â gleiniawg fodrwyau,
Gwyr dysgedig âg euraid wisgiadau;
Bore astudient, wiw barâus dadau;
Yn y toreithiawg naturiaethau:
Gwiw eu hurddedig gyrhaeddiadau,
Deall p'le y Nadir, dull y planedau;
Am y ser gwibiawg, mwys ragwybodau;
Lled ragwelediad o'r holl dreigliadau.

DEWI WYNN.

Nos sy dros yr henoes draw,
A chaddug du'n ei chuddiaw.
Tywyllwch trwch! nid oes a'i trecha,
A'i gyr ef hwnt, ac a'i gwasgara; 4
Ond yr Awen.

[1] Yn y flwyddyn lxi o oedran Crist, a phan oedd Nero yn Amherawdwr yn Rhufain, y llâs y Derwyddon yn Môn gan y Rhaglaw Paulinus Suetonius, gwr medrus rhyfelgar. Y Blaenawr hwn, yn gynnar ar ol ei ddyfodiad i Brydain, a gychwynodd tuag at Ynys Môn, "Ynys gadarn ac yn noddfa ffoedigion," meddai Tacitus yr hanesydd Rhufeinig. "Ac i'r dyben i drosglwyddaw ei filwyr dros geincfor Menai, efe a ffurfiodd fadau â gwaelodion gwastad, at gludaw y gwyr traed, a pherodd i'r marchwyr fyned trosodd naill ai trwy gael allan ryd, ai trwy nofiaw." "Yno," meddai Tacitus eto, "safai ar y traeth [yn Mon] tyrfa o wyr arfawg, a menywaid yn rhedeg yma a thraw yn eu plith megis gwyllon, gan ddwyn ffaglau o dân. Y Derwyddon hefyd, gan sefyll oddiamgylch a'u dwylaw yn ddyrchaf-

Dwyrëa, Ganaid dlôs,
A'r nos, y ddygn nos draw yn ddydd gwna.

Haelionus yw, tafled oleuni
Dros yr oes draw, oes o erysi;
Yma yn iawn mal y gallom ni
Am y DERWYDDON ymadroddi.

Wi! mae'r awyr yn amrywiaw,
Wi! aur drem, megys gwawr, draw;
Gwawr? Wi! mae'n ymagoryd
Gwawr Awen uwch ben byd.
Dy wên, eur Awen! dy eurwëad, moes
Waith man ar fy nghaniad;
Medrus boed gwaith fy mydriad,
Fàl mur o waith difefl mad,
Cywrain; lle mae pob careg,
Oll yn dŷn, yn eu lle'n deg.

Dyroddaist i'r DERWYDDON
Enw mawr, a chlod, yn MON,

edig tua'r nefoedd, a dywalltent weddïau dygnawl ac erchyll. Y milwyr a darawyd â syndawd gan newydd-dra yr olygfa yn gymmaint a bod [y Derwyddon] mal pe buasai eu haelodau gwedi eu glydiaw, yn rhoi eu cyrph yn anysgogawl i dderbyn archollion. Ond ar ol ychydig amser, trwy annogiadau eu Blaenawr; a hwythau eu hunain yn cymmhell eu gilydd i beidiaw â dychrynu rhag torf fenywaidd a gorphwyllawg, a ddygasant eu banieri, ac a ddymchwelasant y rhai a safent ar eu ffordd, ac a'u bwriasant iddeu tânau eu hunain. Gosodwyd llu gwarcheidwadawl ar y gorchfygedig, a thorwyd i lawr y llwyni ag oeddent yn gyssegredig iddeu coelgrefydd ffyrnig a chreulawn; canys cyfrifent yn addas i boeth offrymu ar eu hallorau waed caethion, ac i ymgynghori â'r duwiau trwy gyssegr-chwiliaw i mewn i ymysgaroedd dynion." Gwel C. Corn. Taciti *Annales*, Lib. xiv. 29, 30.

Gwelwyd yn eu hysgolion
Ar fainc llawer gwr o Fon;
Ac eraill o bob goror o Brydain,
Ein brodir dieisor;
Ac er dysg, cymmysg â'r côr
Tiriai yma gwyr tramor.[1]
Caent achles yn mynwes Mon,
A dygiad dysgedigion,
A phwy mwy na hoffai Mon,
Hoff yw ei hen goffäon.

Awen dryddysg! wyt hael yn dy roddion,
I minnau dyroddaist menw Derwyddon,[2]
Er medru heddyw eur-ymadroddion,
A lluniaw cerddi o wiw ddillynion;
Rho im' fwy no mwy elwa'n Mon o radau
Tau, er dwyn i'r golau hen ddirgelion.
Mae eu hanesiaeth am y cynoesoedd,
Am wyr o fri, am wledydd a moroedd;
Defodau llwythau, dull eu hieithoedd,
Yn llwyr, màl aur yn ngolwg llaweroedd;
Ond ermoed erioed fy nghred oedd Awen,
Cyn gwyr llên, neu hanes hen, yr hanoedd.

Hi adrodda am y Derwyddon, hen
A hynod hanesion;

[1] Dywed Iwl Caisar y byddent ieuenctid gwlad Gâl, hono yw Ffrainc, yn arfer dyfod trosodd i Brydain er mwyn cael eu hyfforddi yn fanylach yn addysg a chyfrinach y Derwyddon.
[2] Menw, deall, meddwl.—Mens, *Lladin*.

F' arweinydd hi fydd, drwy Fon,
I gael allan ddirgelion.

Y llwybr dir a'r lle bu'r Derwydd yw Mon,
Meini Llog ŷnt arwydd;[1]
Crair ar led creiriau o'i lwydd,
A chyfled drych ei aflwydd.
Bod Drudan! Derwydd annedd,[2]
A Thre'r Dryw! gwyw yw eu gwedd.
Tre'r Beirdd! lle bu beirdd yn byw,
Yr haddef ni chair heddyw.
O! llawer yn mhob lleoedd,
O drefydd gynt iddynt oedd.

Lle i feirdd oedd oll o Fon,
Ei brasaf feusydd breision,
Olion Drywawl a welir,
Yn llwyd waith, trwy'r holl dir.
Nid oes ddyffryn, bryn, na bro;
Na thwyn, heb hen waith yno.
Rhai'n ŷnt weithion
Ddu arwyddion o ddiraddiad
Beirdd, Ofyddion;[3]
A Derwyddon, a'u diwreiddiad.

[1] Meini Llog, *rhif llios* o Maen Llog. Gelwir y Maen Llog wrth lawer o enwau; sef Maen Cynghrair, Maen Gorsedd, Maen Aberth, Allawr, Cromlech.

[2] Bod Drydan. Yn mhlwyf Llanidan y mae Bod Drudan, Tre'r Dryw, Tre'r Beirdd, lle mae hefyd eraill weddillion Derwyddawl. Gwel *Mona Antiqua Restaurata*, gan Rowlands.

[3] Tri rhyw Brifeirdd y sydd, Bardd Braint, neu Brifardd Pendant, wrth fraint defawd, a llafar Gorsedd, a'i swydd yw llywodraethu.

Mae'r DERWYDDON,
Wiw beirdd ddynion! a'u hurdduniant?
Mae'r OFYDDION?
Mae y BEIRDDION, meib eu hurddiant?
Mae IDRIS a'i dremwydron?[1]
A'i byw yw y doeth AB DON?
HU? CANHEBON?[2]
I'w hysgolion nis dysgwylir;
Tân goed gwyrddion,
Mewn ysgolion, mwy nis gwelir.
Hwy fuont dan nef awyr,
Hwnt yn llu aethant yn llwyr!
O GARNAC yn FFRAINC i GERNYW, chwerw son![3]
O FRYN GWYDDON i FON neb yn fyw.
A CHOR GAWR, ei cheryg ŷnt;
Hen dadau hwy nid ydynt.

Ofydd wrth Awen, ac ymgais a dichwain; a'i swydd yw awenyddu. A Derwydd wrth bwyll ansawdd a gorfod; a'i swydd yw athrawiaethu. *Trioedd Braint a Defawd.*

[1] Tri gwyn Seronyddion Ynys Prydain: Idris Gawr, a Gwyddon ab Don, a Nudd; a chymmaint eu gwybodau am y ser a'u hansoddau, y darogenynt à chwenychid ei wybod hyd yn nydd brawd. *Trioedd Ynys Prydain.*

[2] Tri Deifnogion Cerdd a Cheudawd Cenedl y Cymry: Gwyddon Ganhebon, a wnaeth gerdd dafawd gyntaf o'r byd; Hu Gadarn, a ddodes gyntaf ar gerdd dafawd gynnal Cof a Cheudawd; a Thydain Tad Awen, a ddodes gelfyddyd gyntaf ar gerdd dafawd; ac o'r a wnaethant y triwyr hyny y cafad Beirdd a Barddoniaeth, a dôdi yn nosparth Braint a Defawd y pethau hyny y gan y tri beirdd cyntefigion, nid amgen, Plenydd, ac Alawn a Gwron.

[3] CARNAC, ardal ychydig o filldiroedd o bentref Awrey, ac nid yn nebpell oddi wrth y ddinas Vennes yn Llydaw; ac yn agaws at lan y môr. Yma y mae un o'r gweddillion helaethaf a rhyfeddaf o waith y Derwyddon. Y ceryg oll ydynt yn bur afrywiawg heb erioed eu naddu; ac o nifer, yn fychain a mawrion dros 4000.

CERNYW, sef Cornwall yn Lloegr. Mae yn yr ardal hon lawer byd o weddillion Derwyddawl. Bryn Gwyddon, Gorsedd yn Nghaer-

## II.

Codwn ! dringwn i'r bryn draw,
O fwriad i fyfyriaw ;
Ac arnaw adgofiaw'r dyddiau gynt
Dyddiau ein cyn-henafiaid oeddent ;

lleon ar Wysg. "Tair phrif Orsedd Beirdd Ynys Prydain : Gorsedd Bryn Gwyddon yn Nghaerlleon ar Wysg ; a Gorsedd Moel Efwr ; a Gorsedd Beiscawen."

Modd arall, "Tair Gorsedd gyfangerdd Ynys Prydain : Gorsedd Beiscawen yn Nyfnwal ; a Gorsedd Caradawc yn Lloegr ; a Gorsedd Bryn Gwyddon yn Nghymru." Gwel *Coelbren y Beirdd* gan Taliesin ab Iolo.

Yr oedd Carnhuanawc o'r farn fod Dyfnwal yn cynnwys Dyfnaint a Chernyw ; ac mae yn Nghernyw yr oedd Gorsedd Beiscawen [neu Boscawen, yn ol mal y gelwir y lle heddyw.] Beiscawen sydd rhwng Penzance a Land's End ; ac nid yn nebpell oddi wrth y môr. Y mae yno lawer o weddillion Derwyddawl, ac yn enwedig y Cylch Meini.

Am ORSEDD MOEL EFWR [sef Gorsedd Caradawc* yn ol yr ail driad] ni allai Carnhuanawc fynegi dim yn gadarnhäawl pa le yr oedd ; ond meddyliai y gallasai ei bod yn rhywle yn gyfagaws i ddinas Salisbury. "Efallai bod yr enw Moel Efwr," meddai, "yn dwyn perthynas a gwaith Amesbury neu Avebury ; neu ynte â gwaith Emrys, sef Côr Gawr, a elwir heddyw gan y Saeson yn Stonehenge." "Hawddach," meddai efe drachefn, "yw gwybod ystyr yr enw Moel Efwr, na gwybod y man lle mae." Derbyniodd y Foel yn ddiammhau ei henw oddi wrth bod yr Efwr yn tyfu arni. Oddi wrth yr un achaws hefyd y cafodd Castell Dinefwr ei enw.

EFWR, efyrllys, moron y moch, panas y moch ; Heracleum Spondylium : cow parsnip : wild parsnip. Llysieuyn melys yw yr Efwr, ac hoffer ef yn fawr gan y moch.

> Osglawg blaen derw, chwerw chwaeth ôn,
> Chweg efwr.—*Llywarch Hen.*
>
> Melyn eithin, crin efwr.—*Llywarch Hen.*

Ar ol yr hyn a ddywedodd Carnhuanawc uchod ; sef y gallai fod Moel Efwr yn dwyn perthynas â gwaith Avebury, &c., rhoddaf yma y gofyniad hwn, Oni ddichon i'r gair Avebury, gael ei darddiad, neu ei wreiddyn, oddiwrth Efwr, mal hyn, Evwrbury ? Meddyliwn y gallai i hyn ddygwydd ; ond barned y dysgedig a'r hynafieithydd.

"BURG or the modern bury, denotes a city, as Canterbury." Gwel *Burh* yn *Bosworth's Dictionary of the Anglo Saxon Language.*

COR GAWR, Gwaith Emrys, ac a elwir yn Saesoneg yn Stonehenge, yn ngwastadedd Salisbury. Gwel *Davies' Mythology of the British Druids, t. d.* 303.

* Gwastadedd Caradawc y geilw rhai *Salisbury Plain.*

Yna ymholwn am eu helynt;
"Gwir yn erbyn y Byd" a garent.

Henffych gwell, Fryn Gwyn! tegwedd,[1]
Gwŷn y màn lle trig iawnedd.
Nodawl Orsedd! hen ydwyt,
Hen iawn, eto hardd iawn wyt.
Ar ei llechwedd eisteddwn,
Ein dau, er mwynhau'r màn hwn.

Aeth heibio oesoedd weithion
Er oes Hu hyd yr oes hon;[2]
Er y dydd pan oedd ar daith,
Yn alltud i wlad belldaith.

[1] BRYN GWYN, hen Orsedd yn Môn, (yn mhlwyf Llanidan,) a elwid hefyd Bryn yr Orsedd; a Gorsedd y Bryn Gwyn. Yma, megys ag i Orsedd Bryn Gwyddon, ac eraill leoedd cyffelyb, yr ymgynnullai y Derwyddon i gynnal a chadw Gorsedd a Chadair; ac i drafodi achosion gwladwriaethawl, ac i wneuthur barn rhwng gwr a gwr.

"Ar bedwar amser arbenigion yn y flwyddyn y mae cadw a chynnal Gorsedd a Chadair wrth fraint a defawd Beirdd Ynys Prydain. Sef yw yr amseroedd hyny pedwar Bàn Haul; sef y cyntaf yw yr Alban Arthan; a'i syrth ar y ddegfed ddydd o fis Rhagfyr, pan y byddo dydd byraf y gauaf, a'r dydd cyntaf o'r flwyddyn a'r gauaf, herwydd defawd yr hen Gymry, a chyfrif y beirdd herwydd hen gof a chadw.

"Yr ail yw yr Alban Eilir; a'i syrth ar y ddegfed ddydd o fis Mawrth, a'r dydd cyntaf o'r Gwanwyn yw.

"Y trydydd yw yr Alban Hefin; a'i syrth ar y ddegfed ddydd o fis Mehefin, a dydd cyntaf yr haf yw, a dydd hwyaf yr haf.

"Y pedwerydd yw yr Alban Elfed, a'i syrth ar y ddegfed ddydd o fis Medi; a'r dydd cyntaf o'r mesuryd yw, a hefyd dydd cyhydydd Haul y Mesuryd." *Iolo M.S.S.*, t. d. 52.

D.S. Syrth Alban Arthan, yn ol ein cyfrif presennawl, ar yr 21ain o fis Rhagfyr; ac Alban Eilir, ar yr 21ain o fis Mawrth; ac Alban Hefin, ar yr 21ain o fis Mehefin; ac Alban Elfed, ar yr 21ain o fis Medi.

[2] HU GADARN. Gwel y *Cambrian Register* Vol. iii. t. d. 91, 162—5. *Cambro Briton*, Vol. i. t. d. 45, &c., Vol ii. t. d. 59, &c., Peter Roberts' *Sketch of the early history of the Cymry.* Hu Gadarn, *Cywydd o III. Caniad:* gan Idrison (sef y Dr. W. O. Pughe.)

"Tri chiwdawd addwyn Ynys Prydain: cyntaf oeddent Cenedl y

Wrth làn Mor Tawch yn awchus,[1]
Oedd wr â bron ddewr, ddi rus;
Wr glew! i'r oer gwrwgl yr âi; i'r môr
Er y mawrwynt rhwyfai;
Ha! däed y mordwyai,
Mὸr chwyrn, mὸr fedrus, mὸr chwai.
Di gryn mewn bad o groenwaith,
Dan nawdd Ior dros y môr maith;
Blin ei hynt heb lyw, na hwyl,
Arweiniai'r Cymry anwyl.

Ac ar ol moriaw, rhwyfaw rhawg,
Eu glaniaw gwnai 'n galonawg,
Yn iach er lludded a chwŷs,
Pob pen yn y Wen Ynys.[2]

Ei gwynion heirdd glogwyni, danneddawg,
A'i denodd ef ati;
Gwych eu lluwch a gwiw, uwch lli,
Yn yr haul yn corelwi.
A'r wlad fad oedd wrth ei fodd,
A'i wyneb a lawenodd.

Cymry a ddaethant gyda Hu Gadarn i Ynys Prydain: sef na fynai efe wlad, na thiroedd, o ymladd ac ymlid, eithr o gyfiawnder, ac yn nhangnef."—*Trioedd.*

[1] Mor Tawch,—the hazy sea; sef, y German Ocean. Gwel *The Patriarchal Religion of Britain*, by Rev. D. James, Kirkdale, Liverpool, p. 100.

[2] Y Wen Ynys, un o enwau cyntefig Ynys Prydain. Gelwid hi hefyd y Fel Ynys; sef yw hyny, meddai Iolo Morganwg, Ynys Belin neu Apollo, sef yr Haul. Addolid Bel, Baal, Belenus, neu Balonos, yn Mhalestin. Un o enwau Iehovah oedd Baal yn y dechreuad (Hos. ii. 16.) Yn mhen amser, trwy lygru o grefydd, daeth yr enw Bel, yn enwawd ar Apollo, neu yr Haul. Gwel *Identity of the Religions called Druidical and Hebrew*, *p.* 135.

Tŷ 'n un man, tânau, na mwg,
Ni welai â'i ddau olwg;
Na gwyneb neb trigiannydd
Mewn bryndir, gweundir, na gwŷdd.
Mewn hedd y cymm'rai feddiant
O fryn, a phenryn, a phant;
Gelyn mewn dyffryn nid oedd,
Na'i gadau arfawg dorfoedd.

Hu Gadarn, Ha! a'i giwdawd,
Cynnyddai, ffynai, eu ffawd;
Nes oeddynt mewn bras haddef,
Diwael eu grym, genedl gref.
Ond rhy faith o waith in' weithion adrawdd,
Ar y mydrau caethion,
Hynod lwydd y genedl hon;
Ei hantur a'i helyntion;
Ei defodau, a'i thrafnidiau
Am ei deddfau mad a haeddfawl;
Ei Brawdlysoedd, Gorseddleoedd,
Cynnadl-lysoedd, Cenedl oesawl;
"Cared Doethion
Hen Encilion," iawn eu coledd;
Ac hanesion
Gwiw arferion gwyr o fawredd.

Yn bwyllig i'r Bryn bellach,
Nyni 'n awr, canwn yn iach.

O Fryn Gwyn! mor hawddgar wyt,
Gwiwdeg i'n golwg ydwyt;

Gwylied, arswyded gelyn,
A'i gaib a'i raw rhag y Bryn.

Y Bryn Gwyn, bryn breiniawg oedd,
A hynodawl fryn ydoedd;
Gwir arno ni ragorynt
Bryniau Mon, nag Arfon, gynt.
Yma bu gwyr, meib y gân,
Yn hynod yn eu hanian;
Yma yn hir bu Menw Hen,
Do; a Thydain Tad Awen;[1]
Sef, gwyr cûn, beirdd o'r un reddf,
Ac o enaid un gynneddf,
A nwyf â Thydain wiwfardd;
Neu Menw Hen o fewn Mon hardd.

Yma 'n ngwydd Haul bu ammod,
Rhan beirdd, a chyngrair yn bod;
Gwersi, a chynnal Gorsedd,
Yn iaith eu gwlad heb noeth gledd.
Gwelid Plenydd, ac Alawn, a Gwron,[2]
(Gwiw gawri ucheldawn)
Swyddawl wyr, mewn Gorsedd lawn;
Ynaid yn barnu 'n uniawn.

Ac, Acw! draw; draw gerllaw'r llwyn,
Yn cydlef ger y coedlwyn,

[1] Tri chynfebyd Ynys Prydain, Tydain Tad Awen; Menw Hen; a Gwrhir, bardd Teilaw Llan Daf; a thri meib beirdd oeddent. *Trioedd Ynys Prydain.*

[2] Tri chyntefigion Beirdd Gorseddawg Ynys Prydain: Plenydd, Alawn; a Gwron. *Trioedd Braint a Defawd.*

Yn ddiwyd bu beirdd ieuainc,
Oriawg, mwyn; y graig eu mainc.

A weli di draw ddôl deg,
A'i thwf yn wyrdd-dwf hardd-deg?
Rhaco! MELWAS, werddlas wisg,[1]
A welwyd mewn gwiailwisg,
A gwiw DDRYWESAU 'n eu gwyn,
Dda olwg, draw 'n ei ddilyn.
Ar ei alwad corelwynt,
Ar y glas, o'i gwmpas gynt,
Wrth lais telyn, ddyfais ddoeth;
Neu, gân anegwan wiwgoeth.
Llon hwynt, llawn hedd,
Màn y mwynedd;
Ar ALBAN HEFIN, màn gwin a medd yn lli;[2]
Màn y corelwi, man cwrw a haeledd.

[1] MELWAS, neu mal y gelwir ef yn Saesonaeg, *Jack o' the Green*, oedd, medd hen chwedl, enw Derwyddawl ar ddyn, yr hwn ar Alban Hefin a wisgid â gwisg o ddail a gwiail. Ac ar ol ei wisgaw ef felly, yna efe a âi oddiamgylch i gorelwi, neu ddawnsio, i groesawu yr haf. Darlunir ef yma yn corelwi ar lasdon ger y Bryn Gwyn, a Drywesau yn ei ddilyn gan ymgorelwi gydag ef. Barna rhai y gallai mai y Drywesau yn amdroi, neu gorelwi, mal hyn ar fryn a dôl, ac efallai wrth olau y Lloer hefyd, yr hon a wiw orwenai uwch eu pen, a roddes sail i'r dychymmyg am y Tylwyth Teg. Ystyrir yr enw Tylwyth Teg genym ni yn awr yn enw ar Wyllon. Mae i'r Tylwyth Teg amryw o enwau; sef, Bendith y Mamau, Gwreigedd Anwyl, Y Teulu, Dynion mwynion, &c.; ac yn Saesoneg y gelwir hwynt yn *Fairies*.

CORELWI, mae gair tebyg i hwn, ac o'r un ystyr hefyd, yn arferedig yn Switzerland. "Koraule, a dance; a sort of Swiss galope, accompanied by couplets chaunted in Chorus."—*Athenæum*.

[2] ALBAN HEFIN. Gwel tu. dal. 11. Nod. 1.

Anwyl yw meddwl enyd,
Gan bawb, am enwogion byd;
Mae'n anwyl genym ninnau
Cŷff hen ein dysg, a'u coffhau.
Bydd son am y dynion da,
Teilwng yw hyn, Gwyllt Walia!
Tra gwybren uwch ben y byd,
Tra lliw'r Haul, tra Lloer rewlyd.

Llunient hwy ddeddfau, gwyr call enwawg,
Deddfau heb wallau, yn ddoeth bwyllawg;
Deddfau gorau cyfiawn trugarawg:
I'r gwael adyn, màl i'r goludawg,
Tegwch a fynent. Pan foent wgawg,
Crynai rhagynt penau coronawg.[1]

Hwy oeddent gwbl hyddysg,[2]
Parth dyfnder, doethder pob dysg;
Nifer ser gwyneb nefoedd a nodent,
Planedau a'u cylchoedd;
A'u hynt. Pob peth iddynt oedd
Wybodus am y bydoedd.

[1] *Crynai rhagynt penau coronawg.* Sylwa Dion Chrysostom "na allai brenhinoedd y Celtiaid gymmaint a bwriadu un rhyw fesur cyhoedd heb genad y Derwyddon, y rhai oeddent, meddai efe, yn fedrus mewn Dewinyddiaeth a Gwyddoniaeth, ac nad oedd y brenhinoedd yn meddu onid brith awdurdawd o dan y Derwyddon, ac nad oeddent ddim yn amgen no gweision iddynt." Gwel Armstrong's *Gaelic Dictionary*, o dan y gair "*Druidh.*"

[2] "Ymresyment," meddai Iwl Caisar, "ac a draddodent eu meddyliau i'w gwyr ieuainc, am y ser, a'u symudiadau; am faintioli y byd a gwledydd; am naturiaeth pethau; ac am nerth a gallu y duwiau anfarwawl."

A'u crefydd oedd, defnydd da,
Un wëad ag un NOAH,
Un DUW ION a adwaenynt,[1]
GLYW! IOR gwiw! yn y gwlaw a'r gwynt;
Un DUW yn y fellten dân,
DUW IOR yn llais y daran.
Un BOD yn yr HAUL uwch ben,
A'r LLEUAD a'r SER llawen.
Gwelent, caent wiw argoelion,
Drwy'r byd hanfodiad yr ION.
Mewn llwyn, ar y twyn un TAD;
Un "YDWYF" dinewidiad:
Un RHEN, un DOFYDD, un RHI,
A ddalient i'w addoli.
I'r DERWYDD tŵyn, herwydd hyn,
A thir diffrwyth, a'r dyffryn;
Y llwyni deri, pob dôl,
A lunient yn olynol,

[1] Cred llawer o ddynion cyfrifawl, gwyr dysgedig mewn hynafiaethau, yn gystal a'm cred innau hefyd, ydyw bod y DERWYDDON yn addolwyr y Gwir DDUW; a bod eu crefydd yr un, o leiaf o'r un ryw ag a draddododd Noah i'w feibion a'u discynyddion. Nid oes le i ammhau, tebygwn, na ddarfu i'r gwahanol dylwythau ar ol y Dylif, ac yn eu mysg tylwythau JAPHET, o'r hwn yr hanodd y Cymry, ddwyn gyda hwynt i ba le bynag yr aent i wladychu, hanes am y cynfyd, cred a chrefydd, defodau ac arfer, celfyddydau a gwybodau eu cyndadau.

"Tri UN cyntefig y sydd, ac nis gellir amgen nog un o honynt. UN DUW; UN GWIRIONEDD; ac UN PWNC RHYDDID, sef y bydd lle pob cydbwys, pob gwrth."—*Trioedd Barddas.*

Llyma y gwahanol enwau am DDUW yn mysg yr hen Gymry; sef *Arglwydd, Celi, Culwydd, Daf. Dwyf, Dafon, Dïon, Dewin, Dofydd, Duw, Dwyw, Eilwys, El, Eli, Ener, Glyw, Hu, Huon, Iâf, Iôn, Nâf, Nêr, Nudd, Panton, Panmon, Peryf, Perydd, Pôr, Rhëen, Rhên, Rhi, Rhïon, Rhwyf.* Gwel *Enlynion Sion Cent ar enwau Duw*, yn *Iolo MSS.* t. d. 285. Hefyd y *Cambro Briton.* Vol ii. t. d. 104.

Beunydd, megys yn nydd No,
Fan i ioli NAF yno.

Y CATERI, coed tirion, îr, tewfrig,[1]
Wrth ffrwd hyfryd afon;
A gwigoedd uwch llyn ac eigion,
Nawdd a roddent i DDERWYDDON:
Torfoedd o gangeni tirfion,
Hir, a'u celent hwy rhag gâlon:
Caent le, ail MAMRE, 'n MON i addoli,[2]
A llwyni dillynion;
Ac ALLAWR yn mhob celli, o gareg,
Yn gorwedd ar feini;
Ac yn gylch o'i hamgylch hi,
Ceryg o daldra cawri:
Nid temlau muriau mawrwych,
Llon, clws, â thyrau llawn clych;

[1] CATERI, cawrdderi; deri mwyaf ac uchaf eu maintioli, a'r praffaf a'r hwyaf eu cangenau.

Yn ol barn y diweddar hyglod a'r enwawg y Doethawr W. O. Pughe, nid oes i ni le i gasglu y byddai y DERWYDDON, pan yn eu rhwysg a'u llwyddiant, yn cadw a chynnal eu cyfarfodydd mewn llwyni o goed, ond ar wastadedd noeth ëangfawr; ac yna, gwedi hyny, yn ol fâl y byddai eu hawdurdawd yn lleihau, a'u herlidwyr yn cynnyddu, aent, ac a ymgynnullent ar lechwedd bryn, neu fan uchel, lle y gallent hwy weled o dygwyddai neb gelyniaethawl iddynt gyrchu tuag attynt gyda bwriad i'w haflonyddu; a thrwy eu gweled o hirbell y gallent hwy gael amser i ymwasgaru, pob un i'w gartref; ac yna, ar ol hyny, yn mhen amser, er mwyn cael mwy o ddiogelwch oddi wrth ymruthriad gelynion arnynt, ymgiliasant i wigoedd a dyrysni coed. Ac yn olaf oll ciliasant i Ynys MON, lle y buont yn hir yn flodeuawg, ac y cawsant achles gled, hyd nes ymosawd o filwyr Rhufain arnynt, a'u lladd, yr hyn beth a ddygwyddodd yn yr 61 flwyddyn o oedran Crist.

[2] MAMRE. Gwel Gen. xiii. 8.

Ac o'r nenoedd lampoedd lu,
Lliw arian yn llueru.
Eu teml hwy oedd y byd hwn,
Ar noeth; yr awyr ei nèn,
A'i lampau, golau nid gwàn,
Oedd y LLOER, a'r SER heirdd llon.

III.

Ar nos oer, a'r LLOER yn llawn,[1]
Llygorn y tywyll eigiawn,
Mi syllwn; gwelwn ar g'oedd.
Gwynion fentyll ar gannoedd
Craffwn; mi welwn heb wall
Firain olygfa arall;—
Wiwglwys gyllell careglafn,
A chryman, o lydan lafn,
Aur yn llaw'r ARCHDDERWYDD,
Eilun serch, yn ei lawn swydd,
Llydan ei fantell ydoedd,
Yn FAIN GLAIN ei fwnwgl oedd,
A gwerin llawer goror,
Beunydd o fynydd i fôr,

[1] Gellir barnu oddi wrth yr hyn a ddywed Tacitus, (Gwel Nod 1. t. d. 5, am y gwragedd, ar ddyfodiad y Rhufeiniaid, yn cariaw ffaglau i blith y milwyr, mai yn y nos, ac nid yn y dydd y tiriodd y milwyr i Ynys MON. O herwydd hyn, darlunir y DERWYDDON, yn yr AWDL, yn aberthu yn y nos; a hyny yn groes i'w harfer cyffredin. Gyda golwg cael cynnorthwy oddi uchod yn erbyn eu gelynion y gwnaent hyn; a chyflawnhäai ymgyrch disymmwth y Rhufeiniaid y weithred. Ond pan aethant i aberthu, gwelir iddynt hwy gael eu brawychu gan amrai arwyddion dychrynllyd; ac yn enwedig felly pan welsant aflonyddwch dau darw yr aberth, a chlywed eu brefiadau. Yr hyn beth a gyfrifid ganddynt hwy, yn gystal â chan y Groegiaid ac eraill genhedloedd, yn arwydd yn daroganu aflwyddiant mawr.

A welwn mewn chwerw alar;
Du eu gwisg cerddediad gwâr,
Heb rif yn dylif trwy'r ardaloedd,
Yn toi y meusydd yn finteioedd;
Mil o ugeiniau, mil o gannoedd,
Neu fâl y ser yn fil o filoedd.
O ddadwrdd! un wedd ydynt, trwy'r oror,
A dygyfor môr o flaen mawrwynt,
A thân y coelcerthi oedd[1]
Yn hwfian hyd y nefoedd,
O'r bryniau, i'r fry wybrenoedd, y fflemynt
Y fflamiau yn frithgylchoedd.
Yr awr gerth i aberthu
Hwn oedd. Ac awgrymai'n ddu,
Ac awr fwy bwysfawr ni bu,
Na noswaith yn dynesu.
Gobrudd golwg y wybren,
Lliw oer wawr yn toi'r LLOER wèn;
Melyn-ysgafn gymylau,
Lleufer eu hoen yn llwfrhau,
Ac o'r llwyni sî, a swn syn,
Hirgroch. Yna daiargryn,
A MENAI 'n drai a droiodd,
A phell o'i gwely y ffodd.

[1] COELCERTHI, arferid cynneu Coelcerthi i rybyddiaw y wlad, yn amser perygl, mal y byddai i'r trigolion fod ar eu gwyliadwriaeth. Darlunir yn yr AWDL i'r DERWYDDON wneuthur felly. Yr oedd hi hefyd yn arfer ac yn ddefawd yn eu plith i gynneu Coelcerthi y nos o flaen dydd eu gwyliau arbenig. Ond Coelcerthi oedd y rhai hyny yn arwydd o'u diolchgarwch am y tymhorau.

Aeth i feirdd y noswaith oedd,
Adeg eu dinystr ydoedd;
Od aent ger cyssegr dderwen,
Llais hir prudd lleisiau o'r pren.
Oer rybydd a ro'i 'r aberth,
A chwith y rhybydd a cherth.
Rho'i 'r ddau darw gwŷn, laethwyn liw,
Uchelfref, bref groch chwilfriw;
A llament, neidient yn ol,
Gwyrthiawg wedd, yn eu gwrthol.

Ac ar hyn mewn dychryn dwys,
A myrdd mewn ofnau mawrddwys,
GOSTEG a roed; gosteg oedd,
Chwedy'n mawr edrych ydoedd,

I fyny y codid gwèn FANER fawr,
I foriaw yn yr uchder;
Ei dyfais oedd, nid ofer,
Ddig SARFF rhwng deuddeg o ser.[1]
Ei chefn oedd laswyn a chôch,
A'i llygaid yn dân lliwgôch.
A'r llu mad mewn gwisgiad gwŷn,
Hyd olwg, yn ei dilyn,

[1] Yr oedd y SARFF mewn bri a sylw mawr gan y DERWYDDON, a chan lawer hefyd o genhedloedd y cynoesoedd. Ac o herwydd ei bod hi yn yn bwrw ymaith ei chroen yn flyneddawl, a thrwy hyny yn troi megys i ieuenctid eilwaith, edrychid arni fel yn arwydd cymmhwys o gylchdröadau y rhôd; ac o anfarwoldeb. Mynych y gwelir ei llun ar allorau. Ac yma, yn ol dychymmyg y bardd, gosodir ei llun hi ar Faner wèn, ac o'i chylch ddeuddeg arwydd Caersidydd, neu y *Zodiac*.

O wedd orhoff! at DDERWEN
Oedd dàl, gwiw hardd; deiliawg, hen.
A'r ARCHDDERWYDD
Am Uchelwydd yma chwiliai;[1]
Ato'n ebrwydd,
Ddyn cyfarwydd, iawn cyfeiriai.
Ei goflaid torai 'n gyflym
O'r llwyn, â'i gryman aur llym,
A'r osglau, brigau heirdd brwys,
Canaid gynfas a'u cynnwys.

Yn hylwydd, a rhwydd, ar hyn,
Ar dalar chwariai 'r delyn
Gân fywiawg; a'r DATGEINIAID,
Aml gylch, yn moli a gaid.

Sylwer yma, mai ar lun Sarff y gosodid y MEINI GWYNION (a elwid hefyd Meini Cynghrair, a Meini Crair) i sefyll yn gyferbyn â'u gilydd yn ddwy res; a'r llwybr rhyngddynt oedd yn arwain i mewn i'r Cylch Cynghrair; o mewn i'r hwn Gylch yr oedd y Maen Gorsedd, neu y Gromlech.

[1] UCHELWYDD, uchelawr, uchelfa, uchelfal, uchelfar, pren awyr: *misletoe.*

Arferai y DERWYDDON yr Uchelwydd yn eu haberthau; yn fwyaf enwedig ar ALBAN ARTHAN, ac ALBAN HEFIN. Ar ALBAN HEFIN aberthent i gydnabod eu diolchgarwch i DDUW am ddyfodiad yr Haf. Ac ar ALBAN ARTHAN diolchent iddo am yr amryw wahanawl fendithion daioni a roddasai Efe i'r tir yr amser aeth heibio; ac a erfynient arno i ganiatâu bod i'r cyfryw, a'r cyffelyb, fendithion goroni y flwyddyn newydd.

Gwahoddid holl drigolion y wlad i ddyfod i gadw y gwyliau arbenigawl hyn. Yna, ar ol i'r cynnulleidfaoedd ymgasglu ynghyd, ffurfid gorymdaith; ac aent, a'r DERWYDDON yn eu blaenori, i chwiliaw am yr Uchelwydd. Ac yna, gwedi caffael o honynt y dderwen y tyfai yr Uchelwydd arni, esgynai yr Archdderwydd, neu ynte Dderwydd i fyny i'r goeden, â chryman aur yn ei law, i'w dori i lawr, ac o dan y goeden delid cynfas wen i'w dderbyn.

Yna, yn mhen byr enyd,
"Y Beirdd a Dewinion Byd,"
Mewn mentyll yn sefyll sydd
O flaen y teirw aflonydd.
O'r diwedd gyda'i wedd wiw,
A'i wynllaes wallt arianlliw,
E ddöai 'r Archdderwydd
Hen, gwàn. Yna 'n ein gŵydd
Dyrchai ei lais, dyrchai lesg
Ddwylaw, mewn gweddi ddilesg.

Oedd hardd ef! a'r weddi hon
Yn ddifrif aeth o'i ddwyfron
Yn hyf, yn wylaidd hefyd,
At Llywydd, Barnydd y byd.

"Pe yn llawn, màl y môr, uniawn Unad!
Fyddai ein genau o nefddawn ganiad;

Mae yr Uchelwydd yn tori allan i flodeuaw yn Alban Hefin; ac yn Alban Arthan ceir y gronynau gwedi addfedu, a chyfrifid hwy yn rhinweddawl fàl meddyginiaeth.

"Gwiwbarch a dalai y Derwyddon gynt i'r llysieuwyddyn hwn, nid yn unig o ran y rhinweddau llïosawg a nefolaidd, a meddyginiaethawl, a dybiasant iddo feddiannu, gan ei enwi yn Holliach, ac iddo iachâu pob clefyd, ar ddyn ac anifail; eithr hefyd mewn dull crefyddawl, gan iddynt dybiaw ei ddisgyn o'r nef, a chan nad ydyw ond megys cangen yn unig, ac nad oes iddo gyff i'w gynnal, na gwraidd ddaiarawl, meddyliwyd fod mawr debygoliaeth rhyngddo a'r "Blaguryn," sef y "Blaguryn Cyfiawn," a ragddywedasid yn ei gylch gan y Prophwydi, yr hwn oedd "ddymuniad yr holl bobloedd."—*Welsh Botanology*, by Hugh Davies, F.L.S., t. d. 242.

Yr oedd y diweddar Dr. Coplestone, Esgob Llandaf, meddynt, yn anghredu fod yr Uchelwydd yn tyfu ar dderwen, hyd nes i'r sawl a ddadleuent âg ef ar y pen hwn gael o hyd i Uchelwydd, yn ei Esgobaeth, yn tyfu ar dderwen, a'i ddangaws iddo.

A'n tafodau, màl ei dònau, yn dwnad; 341
A'n gwefusau 'n fawl o nefawl nwyfiad;
A'n golwg ar ein galwad, màl yr Haul
Wynebpryd araul, didraul belydriad;
A'n dwylaw ar led, ar fryn a dolydd,
Màl yr Eryr fry 'n yr awyr fröydd; 344
A'n traed yn barod, màl iyrchod i wŷdd,
Hyn ni ddigonai ddim, ddifai Ddofydd!
I roi awl i Reolydd tir a môr,
Tragwyddawl Ior! ein Por! a'n Perydd! 347
O Dduw! Ti a weddïwn,
Boed gwerth yn ein haberth hwn."

Tawai, parotöai 'r tân,
Ei gyllell dygai allan; 353
Dywedai, edrychai 'n drwm,
"Deffraw, Gyllell! rhaid offrwm;
Eryr o Rufain, oer ei araith,
Ysig lafar, gwaedd am ysglyfaeth; 356
Ai hon yw'r noson teimlaf ïasaeth,
A roddo ddiwedd i Dderwyddiaeth?"

Ah! rhy wir, gwir heb air gau,
Gwir? Ah! rhy wir ei eiriau. 360
O waith ffromwyllt! cyn byth offrymu,
Gwae oer irad, meirch yn gweryru;
Marchawg, llurygawg, wyr yn gyru: 363
A chyrn, Ow gynhwrf! yn chwyrn ganu;
A thraw, yn llywiaw 'r lluoedd,
Eryr yn yr awyr oedd.

MENAI ni rwystrai mo'nynt,
Oedd hesp, rhwyddhâodd eu hynt.
Ei gwely croesai 'r gâlon
A bloeddiadau llefau llon.
I FON yn hyfion aent hwy,
A thuthient drwy BORTHAETHWY.[1]
Llifent, màl erchyll afon,
A swn hŷf, drwy 'r noson hon;
Ac mal afon aflonydd,
Ddi gaeth, yn dadwreiddiaw gwŷdd;
O'r wlad y gelyn frad fron
Diwreiddiai y DERWYDDON
O'r ddaiar gron ddirgrynai
Mòr chwith, o dan eu meirch chwai,
Wrth aruthr a brwd ruthraw,
A maith rwysg yma a thraw;
Nes oedd trwy 'r ynys waeddi,
A dychryn, a chryn, a chri.
Rhuthrai 'r milwyr, gwyr âg eirf,
Ow dywydd! ar rai dieirf;
A'u cleddyfau 'n gwau yn y gwynt,
DDERWYDDON lladd yr oeddynt.
DDERWYDDON doethion mewn dysg,
Noddwyr, colofnau addysg!

[1] Y mae yn draddodiad hyd heddyw mai trwy Borthaethwy y tiriodd y Rhufeiniaid i FON. Y rhai hyn, tebygwn, oeddent y Marchwyr. Ac nid anhygoel ydyw ddarfod i'r gwyr traed groesi Porthaml mewn badau; a thiriaw i'r lle a elwir Pant yr Ysgraf yn mhlwyf Llanidan.
"Cytunir yn gyffredinawl i'r amgylchiad hyn" [sef, dymchweliad y DERWYDDON;] "gymmeryd lle yn nghymmydogaeth *Llanidan*; ac y mae etto gerllaw amryw weddillion Derwyddawl, megys Cromlechau, a Meini Hirion iddeu gweled; ac y mae yn ddilys genyf ddarfod i lawer eraill gael eu dinystriaw."—*Hanes Cymru, t. d.* 82.

Yn cwynfan, griddfan yn groch,
A'u twygau yn waed dugoch;
A môr o waed y meirw oedd,
Màl y lli, 'n llenwi 'n llynoedd;
Moroedd oedd gwaed y meirwon,
Cochfaes oedd pob maes yn Mon.
Dydd trwm ! i'r gwaed nid oedd trai,
O'i weled Mon a wylai.

Yna i'r llawr bwrw 'r allorau,[1]
Oni oeddynt yn friw garneddau;
Llyna weithion y llwyni hwythau
Ar hyn, O ! 'r gelyn yn dân golau.

Rhag y gâlon, merched, meibion,
Y trigolion trwy eu gilydd,
Oedd yn gwibiaw, gwaeddi, bloeddiaw,
Rhedeg, gwylltiaw 'r hyd y gelltydd.
Eraill hwythau oedd mewn ciliau,
Neu ar greigiau, wyr a gwragedd;
Mân dylwythau, mewn gwyllt ofnau,
Oer galonau ! o'r gelanedd.

Er hyn y gelyn a gaf
Yn eu gwrth ar eu gwarthaf.
Ni folaf y rhyfelwyr,
Och Alon ! heb galon gwyr.

[1] "Gosodwyd llu gwarcheidwadawl, yn ol hanes Tacitus, ar y gorchfygedig, a thorwyd i lawr y llwyni ag oeddent yn gyssegredig iddeu coel grefydd ffyrnig a chreulawn."—*Hanes Cymru*, *t. d.* 82.

Bleiddiaid yn lladd defaid ŷnt; o barth bâr,
Eryrod ar wâr adar ydynt.
Llusgid, Och! teflid i'r tân, yn grugiau,[1]
Gwragedd tyner egwan;
Yr un modd plant gwirion mân,
Yn llesg dorf, i'r un llosgdan.

Bore a ddaeth, a'r wybr oedd wech,
Eglurwawr, a dysglaerwech;
A'r Haul, bryd araul eirian,
Yn lloni dydd bellen dân;
Ond, Ow! mòr groes oedd daiar,
Prudd-deb dros ei gwyneb gwâr.
Pwy heb boen? du yw pob pau,
Du ing! yn meddiant angau.
Wylai 'r Awen uwch ben bardd,
Wareiddfwyn, uwch Derwyddfardd;
Yr olaf fardd ar ael ei fedd oedd hwn,
Tra 'r oedd hi 'n ei goledd
Gwenai; a hunai mewn hedd
O'i gafael i'r dwfn geufedd.

IV.

Paulinus Suetonius! ti
'N ewyllysgar fu 'n lladd, llosgi;
O'i lenwi â chreulonedd,
Ei glod a gollodd dy gledd.

[1] Y tânau y cyfeiria Tacitus atynt, pan ddywed, "dymchwelasant y rhai a safent ar eu ffordd, ac a'u bwriasant idd eu tânau eu hunain," oeddent yn ol tyb Awdwr yr Awdl hon, y Coelcerthi y sonir am danynt yn *Sylwnod* t. d. 20.

Yna i dy waewffon daeth 433
Taliad o anghlod helaeth.
Yn mhob màn lleddit pob bardd,
Y pryfyn màl y PRIFARDD.
Ond o'u gwaed y caed teg hil,
Hapus anfarwawl eppil. 438
Eu hiaith hwynt yw ein iaith ni,
Eu GORSEDD ac eu GWERSI.
Er camrwysg ar dir CYMRU,
Llwydd fyrdd, a'r lladd a fu; 442
Er camrwysg ar dir CYMRU,
Ein gwlad; er RHUFEINIG lu;
Canfod ŷm hil ein CYNFEIRDD
Heddyw yn fyw, ac yn feirdd! 446
Tra gwehilion, FON! sydd yn fyw, 'n rhif wàn,
O'r RHUFEINIAID heddyw;
Aeth eu dydd, eu hiaith nid yw,[1]
AMHERAWDWR? marw ydyw.[2] 450

[1] "Y mae'r iaith y llefarodd CICERO, ac y mydrodd VIRGIL ynddi, yn ddieithr ar lenydd y Tyber."—*Ceinion Alun*, t. d. 231.

[2] "Gwnaeth y Gothiaid orsedd y deuddeg CÆSAR yn goelcerth. Yr oedd y Cymry yn genedl, pan oedd y Cenhedloedd a enwyd [sef. Chaldeaid, yr Assyriaid, y Groegiaid, y Rhufeiniaid a'r Carthaginiaid,] yn mawredd eu rhwysg; ac y maent yn genedl eto."—*Ceinion Alun*, t. d. 235.

# A W D L.

## IOB.

### Cystuddiau—Amynedd—ac Adferiad Iob.

Chwi a glywsoch am amynedd Iob, ac a welsoch ddiwedd yr Arglwydd: oblegid tosturiol iawn yw'r Arglwydd, a thrugarog.—St. Iago.

Vir fortis cum mala fortuna compositus.—Seneca.

Ymdrechiad gwr dewr âg anffawd.

---

Mewn gwlad gain o'r Dwyrain dir,
Fireindeg hoffaf randir,
Llawn porfëydd, dolydd da,
Goreufan gwiw Arafia,
Y trigai Iob. Gwr tiriawg oedd; golud
Gwlad Uz a bieufoedd;
Y llawnaf lys, màn llon floedd,
Main naddiant rhwng mynyddoedd,
Oedd ei lys ar ddôl lwyswyllt,
Is creigiau ogofau gwyllt.

Gwr uniawn oedd, cyfiawn, call,
Y Duw Iob, ac nid arall,
A addolai ef yn ddilys
A chalon lon yn ei lys.

Nycha! drwg ni chai drigaw
O mewn ei lys, dreflys draw.

Aberthai hoff ebyrth hedd
I Dduw beunydd ddiddiwedd:
Tew hyrddod, bychod harddwych;
Wyn gwâr heblaw ychain gwych,
Yn deilwng rhag dialedd, neu goddiant,
O digwyddai camwedd;
Os aml ei weddi symledd,
Oedd o hyd am nawdd a hedd.

Duw a'i bendigai â da byw 'n degwch,
Ddeadelloedd filoedd yn ofalwch;
Llunier in' olwg, llonai 'r anialwch;
A rhoddid iddo bob rhyw ddedwyddwch,
A'i dylwyth oedd fyd o elwch, ail nef;
Ac yn ei haddef y gwenai heddwch.

A gwr mòr oludawg oedd,
Yn y Dwyrain, o diroedd;
A llwyddid ei hoff haddef,
O ddydd i ddydd, a'i dda ef;
Mal nad ydoedd
Yn y gwladoedd un goludawg
Gwell ei gyflwr;
Na dau wladwr dylÿedawg
Yn Uz, Chesed, Buz, Dedan;
Neu un mwy gwr yn un màn
Is awyr. Ni welodd Suah ei ail;

Ni welwyd yn Tema ;
Na chwaith neb yn nhir Seba,
Ei ail o ddyn.
Aml ei dda !

Gynnau 'n yr waun draw yr oedd,
Yn y tywawd, fynteioedd
O gamelod tew glew glân
Yn chware 'n orwych eirian ;
A gweision ddynion, bob ddau,
Rhai hwylus ar eu holau.

Asynod mewn dewis anial ; gŷroedd
Rhagoraf yr ardal ;
Yn frith oll, rhai 'n fŷr, a thàl,
Oll yn yroedd llawn arial.

Gwelid draw ar fryn pell golau uchel,
O ychain ugeiniau ;
Ac y rhawg, cŷdrhwng creigiau,
Eifr heirdd llon gwylltion yn gwau.

A blithawg dda yn tryblethu 'n ddilesg
Trwy ddolydd : oddeutu
Heb rif yn pori, brefu ;
Neu mewn hedd gorwedd yn gu.

A maith rif yma a thraw o ddefaid
Yn ddiofal grwydraw

Dyffryn a bryn heb ddim braw;
A'u hŵyn o'u hol yn hwyliaw;
A'i bugeiliaid heb gilwg,
Oriawg drem, i'w cadw rhag drwg.

Ah! cyfoethawg enwawg wr,
Da a goludawg wladwr.
Miloedd o ddefaid a chamelod iach,
Ychain ac asynod
Gannoedd, a bioedd; nes bod
O honaw 'n berthawg hynod.

Darfu hyn beri dirfawr
Sôn am Iob; o synu mawr.
Daethai pawb i'w gymdeithas, heb unon
Oedd benaf mewn urddas;
Neb fwy drwy y dref; a'i dras
Oedd enwawg yn y ddinas:
A'i fyd o hyd oedd un haf
Byd a bywyd heb anaf;
A'i flynyddoedd
Oedd yn fisoedd; ni fuasai
Dydd ond awr; mòr ddedwydd âi
Y drylon oes a dreiliai.
A Duw ei Hun yn cadw o hyd iddaw
Ddedwyddwch a gwynfyd.
Patriarch llawn o barch byd
A'i redfa oedd heb gur adfyd.

O ddedwydd, gwir ddedwydd ddyn!
Galar na phoen na gelyn

Iddo nid oes. O ddyn dewisaf Duw!
Diau mai 'r dedwyddaf
O ddyn oedd. Bu i Dduw Naf
Ei garu yn rhagoraf
Gwenai arnaw
I'w gysuraw
Yn llawn alaw, oll yn wiwlan,
Ffrwythawg feusydd
Aeron goedydd,
Llawn afonydd, llonaf anian.

Deuai iddaw yn dawel
O'r main ymenyn a'r mel;
A'r creigiau hyd rywiau'r allt
Olew tew a wnaent dywallt.

A'i blas, y gwr urddasawl,
Oedd fawr odiaeth; helaeth hawl.
Gwemp yr olwg o'i gwmpas,
O fron i fron daiar fras;
A hardd iawn ei erddi oedd,
Y llynau a'r gwinllanoedd;
A'r pinwydd, goedydd gwiwdeg,
A'r meusydd ŷd, dolydd teg.
A thrwy y wlad ddiadwyth
Cnau oedd; a phrenau pob ffrwyth;
Llwyni o goed yn llawn gwên,
A'u nôd yn meru 'n addien;
Ac adar mwyn o'r coedydd,
Llu 'n y dail yn lloni dydd.

Pan âi o'i blas
Tua 'r ddinas
A'i wisg urddas, a'i osgorddion;
Rhoddi groesaw,
Gwrhau iddaw;
Rhoi llaw iddaw o'r llywyddion.

Ciliai 'r llanciau o'i olwg;
O fewn i'r dref ofnai 'r drwg.

Pendefigion, dynion doeth
A chefn y wlad a'i chyfoeth,
O'i ddeutu yn cyrchu caid
Yn araf; a'r henuriaid;
Pob un o'i fodd, pawb yn fud,
Gan wrandaw 'n ddystaw astud;
Ac yntau â'r genau 'n gall
Dda a ddangosai ddeall.
Haelfwyn wr! oedd uchelfawr
Yn eu mysg, ail brenin mawr.

Y glust a'i clywai pob clod
A rànai i'r gwr hynod;
A'r llygaid a'i gwelai o galon
A'i bendigai; o'i gwaelawd eigion.
Cariai fwyd i'r newynawg gwirion
Rhoi gynhes wisg i'r noeth a'r gweinion
Dyn ar ddarfod am dano,
Aml ei fawl, a'i molai fo.

I ddall diwall lygad oedd,
I adyn cloff troed ydoedd.
Oedd hefyd i amddifad
Bob amser yn dyner dad;
Ac i'r weddw 'r oedd yn dŵr da,
Hoff enfawr amddiffynfa.

Tyfai iddo blant ufydd,
Cywir oll, caredig, rhydd;
Meibion tirion,
Merched mwynion,
O rwydd galon; hardd i'w gweled;
Llawn daioni;—
Goreu 'n gweini ar a aned

Eu gilydd o bur galon a garent
A'u geiriau oedd dirion;
A chaid hwy â llygad llon—
Af oll i'w holl gyfeillion.

A gwelid hwy yn nhai eu gilydd
Heb un yn groes yn gwledda beunydd;
A'u tad hael fwriad a'i leferydd
Drostynt gartref i'r nef yn ufydd.
Ond hwy 'n nhŷ eu brawd hynaf, yma 'n glyd,
Mewn gwledd o'r lawenaf
Un dydd; rhoi newydd a wnaf,
Och, rhusaf! yr echrysaf.

Cenad irad didaring,
A gwedd wyllt â gwaedd o ing;

Yn ddioed fuan droediaw
Tua 'r llys mewn brys a braw;
Yn ei rwysg i fewn yr âi
O fewn am Iob gofynai.
Yna o'i ol, dan wylaw,
Arall wr yn dod gerllaw;
Dau eilwaith yn eu dilyn,
Trydydd a phedwerydd dyn.

Och! drwg newydd beunydd a dderbyniwyd:
" Dy weision gan gledd a'r mellt a yswyd!"
Rhybydd ar rybydd:—" Dy dda a reibiwyd!"
"A'th blant," O'i aflwyddiant ef! "a laddwyd!"
Ar lawr mewn galar y gwelwyd yntau;
A dagrau ruddiau iddo a roddwyd.

Wele ei wyneb pan oedd lawenwch,
Iddo drosto yn troi i dristwch;
Ymaith ar unwaith â'i dirionwch,
A'i hedd, a'i fawredd, a'i ddifyrwch!

Gwel ei dŵyg yn un rhwygiad;
Yma todda calon tad.
Gwel hefyd màn ei galon,
Màn ei serch, sef monwes Ion;
Lle tawdd, lle tywallt weddi:—
" Lles dyn yw 'th ewyllys Di."

Yn ing, Iob ei angor oedd;
A'i dwr ymysg blinderoedd.

Ni fu odid mwy profiadon i neb
O gydnabod dynion;
Tawlai hwnt y dymhestl hon
Blant o'i feddiant, a'i foddion.

Gwae! lwytet yw! gwel eto
Ergyd llymach, trymach tro;
O'i gernau i'w draed yn gornwyd y mae
Gwae ar ol gwae iddo y gwewyd!

O! am ddawn hylawn; a hawdd
Medru ar ddoeth ymadrawdd,
A deall i roi allan
Hyawdl gerdd nid odlau gwàn
Am Iob. Efe o'm maboed
Yn wir a garwn erioed.
Gwnawn son yn dirion heb daw,
Un dinam byth am danaw;
A'i lwyddiant, a'r plant, pob helyntion byd,
Ei barchu i dylodion;
Y mawr les a gwên mor lòn,
A eiddunai i ddynion.

Yna wylwn gan alar wrth ddarllen
Hanes amgen siomgar;
Adfyd, lle gwynfyd; wr gwâr!
Heb dŷ ond gwyneb daiar.

Ah wedd! eistedd yn ddystaw,
Yn llwm; a'i ben ar un llaw

A chalon drom ar y domen, yn glaf;
Yn glwyfus mewn angen;
A'i gnawd gwael yn gnwd o gèn,
A rhwygiad llawer agen.

Pwy fwy ei gur?
Poen difesur!
Och arw ddolur! chwerw ddialedd!
Drwg ei helynt,
Haul a phoethwynt;
A llym oerwynt yn lle mawredd,
A chyfoeth. Och ei ofid!
Gwŷn crawn llosg yn croni llid.

Ah! 'n ei gystudd prudd o bob rhyw a gradd,
Ei farn a'i gred ydyw,
O lladder mai gwell heddyw,
O ran ei boen, farw no byw.

Mae 'n salw frwnt, mewn isel fri;
A'i adael gwneir i edwi
Ar lawr yn watwar i lu;
A'i wraig ef yn ei regu.
Heblaw hi 'n yr helbul hallt,
(Diwyd ddagrau a dywallt)
Llyna lais cyfeillion lu,
Yn gwbl oll yn ei gablu.
Derchafai ei dri chyfaill
I'r Nef eu llef fàl y llaill;

Rhesyment, haerent o hyd,
Mai ei fai drwy gam-fywyd
Rywfodd, neu ddrwg arofyn
A'i rhoes yn y cyflwr hyn.
A hwynt i ddyn a wnaent ddal
I Dduw felly ei ddial.

O! Eliphaz ei gâr hael hoffaf
Ni eiriach air o'i eiriau chwerwaf;
Allan myn ei acan o'r miniocaf;
Ac Iob yntau 'n y poenau penaf.

Yna Bildad, yn uniawn, yn medru
'R un ymadrawdd digllawn;
Och! a'i air ef oedd chwerw iawn;
Dygai ofid hyd eigiawn
Calon Iob dirion. Bellach nid oes fodd
Y goddef fwy o loes;
Neud ei ran trymder einioes,
Ebwch cryf a beichiau croes.

Cwyned! nid yw ond cynnar;
Caiff glwyf mwy; ceiff fwy o fâr;
Chwaneg o lid,
Dig a gofid; gwae ac afar.

Wele Zophar o flaen ei olwg
Yn ymliw mai rhyw fai anamlwg
A ddaeth a'r driniaeth a'r drwg. Ato 'n sŷn
Taflai ar hyn golyn ei gilwg.

Y gwr llesg, nid oes gerllaw
Neb athrist, neu 'n drist drostaw !

Ah ! gweled yn galed galon ei hen
Ei hynaif gymdeithion,
Tra niwl, yn troi yn alon,
Oedd anfad frathiad i'w fron ;
Heb ail o'i holl helbulon
I weithred hacred a hon.

Ond er iddynt fàl hyn ei daraw 'n llym,
Er lladd ar, a gwawdiaw
'N drwm, y dyn llwm ar bob llaw ;
A ffyrnig graffu arnaw ;
Er ei boeni, a'i brofi, gan bryfed
Yn crafu a garddu wrth ymgerdded ;
Ow, ei gerydd ! a'i gnawd yn agored,
A'i esgyrn gwael, ys gwir hyn, i'w gweled !
Tan ei ddial tew ni ddywed ddrygair ;
Cablair, na chroesair, er ei echrysed.

Tra duai 'r cnawd trwy dywydd ; a llosgi
O'r holl esgyrn beunydd ;
I'w niwed rhyw iaith newydd,
A chas air o'i gylch y sydd.

O drachas pob edrychwr,
Yn awr y gwae 'n blinaw 'r gwr.
Yma â'i reg yr henwr gwàn ;
Yna acw 'r plant yn mocian.

Gwr ydoedd un gywirdeb a Noah ;
Un awydd am burdeb
A Daniel, lanbryd wyneb ;
Eto mewn poen mwy no neb ;
A'i ruddiau 'n gŵysau di gêl, trwy alar ;
Trwy wylaw dwys dirgel ;
A phob gwae. A phawb a'i gwel
Yn ochi arnaw 'n uchel.

Pa fodd dygwyddodd i'r gwr da rinwedd,
Mor druaned gyflwr ?
Oedd egwan, heb feddygwr ;
Heb wely, na thŷ, na thŵr.

Y Cynneiliawdr, Llywiawdr, holl luoedd
Di ri' nifer daiar a nefoedd ;
Ah ! iddo Ef dydd a oedd i'w feibion,
Angelion gloywon, a'u trigleoedd.
I 'mddangaws heb draws, na drwg,
Yn wiwlu yn ei olwg.
Mewn uchel rwysg, angelrith ;
Llyna 'r oedd, yn llawn o rith,
Satan yn eu plith chwith chwant ;
Neur drych o anwar drachwant !

O wir fâr ei arfer oedd,
Yn y lle o flaen lluoedd ;
Cyhuddaw, beiaw 'n ddibaid ;
Un awydd i wneyd niwaid.
Y tro hwn anturiai hau
Ddu odiaeth gyhuddiadau

Yn erbyn Iob; gan orbwyll
Yn gyhoedd nad oedd heb dwyll;
Eithr yn wir rhagrithiaw 'r oedd
I Dduw er mwyn ei ddäoedd.
Dywedai, haerai yn hyf,
Gwn am Iob, diau genyf;
Pei drwg, sef gwg Duw a gai,
Duw a'i waith a felldithiai.

Yn uniawn yn ei wyneb,
Trwy wŷn, nis tawai er neb.
Dyna hèr! gweler yn y golau
Hen anian Satan, a'i hoenynau;
O doriad calon dwyn blinderau
Ar un oedd gymmaint ei rinweddau.

Mynych fynych adgofiaf innau,
Un achlysur ei antur yntau;
Pan oedd ddedwydd heb boenyddiadau,
Yn llon dirion, mewn llawn mwynderau;
Yn profi daioni Duw ei Hunan
Yn hwylus felus yn y nef wiwlan;
Mòr lanbryd oedd hefyd, ac mòr ddifan,
Heb un nam i'w flinaw; heb un mefl anian:
Nid oedd o'r lluoedd dyddan un Angel
Nac Archangel, mwy uchel ei achan;
Ac uchel fàl Angel oedd,
A llyw yn mysg y lluoedd.
Ond ef yn y nef fu 'n anufydd,
Gyrai i wadu ei Greawdydd;

Ond Iob dihoen ar ei boen beunydd,
Oedd un afael; i'w Dduw yn ufydd;
Nes ytoedd syndawd i Satan weled
A'i olwg ei hunan,
Er ei drin, er ei droi 'n wàn,
Drwy ei waith, yn gwbl druan;
Er haint a'r cymmaint cur,
A fuasai 'n ddifesur;
Fod ei ffydd beunydd yn bod,
Dda emyn, mòr ddïymmod;
A'i hyder, er llymder llid,
Yn Nuw mòr ddigyfnewid.

Eiddigus ddadl o'i flaen a ddygwyd,
Ac hon eilwaith hir y cynnaliwyd;
Llwyr o'i herwydd llawer a haerwyd,
A beiaw arno 'n fawr y buwyd,
Nes cododd un gwas cadarn,
Oreu fodd, i roi ei farn;
Elihw ei enw; gwr hael uniawn call,
Gwr teg hollawl gyfiawn;
Gwr erioed a garai 'r iawn,
Gwas o urddas o fawrddawn;
Rhyfedd anmhleidgar hefyd
Wrth bawb, er araeth y byd.
A medr hyddysg yr ymadroddai,
A'r hydr eithaf pob gair a draethai;
Ac yna bywiawg iawn y beiai
Gyfeillion Iob am bob gair a bai.

O barth eu barn am Iob wiw;
A'u hamledd gas a'u hymliw.
Ond chwai tra llefarai 'r llanc,
Oedd odrist, crynai 'n ddidranc;
Gwelai ddwyfawl wawl aml wedd,
Oriawg eglur, o'r Gogledd;
Nes crynu a d'rysu 'n drwm,
A'i gael yn dafod-gwlwm.
Ar hyn daiar gryn a gwres,
A lluch tân o bob lloches;
A thrinoedd mellt a th'ranau,
A berw gwynt yn yr wybr gau;
A chorwyntoedd a'u bloedd blwng,
Bàn, allan yn ymellwng.

Yna dirfawr gawr o'r gwynt, fyw daran!
Llef Duw Ior o'r corwynt;
A'r bryniau maith oddaith ynt,
Rhwygedig creigiau ydynt.

Ofnai Iob; crynai cyrau anian,
Hi a dawdd oll! llais Duw oedd allan;
Mwy noeth y llais dros bob man weithian,
Mâl twrdd bloedd moroedd yn ymwrian:
Sef Ior oedd yn dangaws ei faran,
A'i ryfedd fawredd o'r nef eirian;
Yn ddim cyfeillion Iob oedd yman,
A throes y tri yn athrist druan.

Dygwyd o'u blaen y Grë 'digaeth, rhifwyd
Ei rhyfedd waith helaeth;

Daiarawl grëaduriaeth,
Llu gwiw nef, a'r llaw a'u gwnaeth.
Galwyd o'u blaen ddirgeloedd holl anian;
A'u lluniwr, Duw 'r nefoedd;
Ac mai cyfiawn, uniawn, oedd
A thradoeth ei weithredoedd.

Iob wael agwedd ar hyn ymblygai,
O flaen Duw â bron flin y deuai;
Ei anwybodaeth ni arbedai
A phwys ei ofid a gyffesai.

A Duw Iob yna o'i dirionwch ar
Ei eiriau o dristwch;
A'i codai o'r llai a'r llwch;
A'i alar a droi 'n elwch.

Gwir:— Ha wyr! Gorohoian!
O leisiau gwiw! melus gân
O'r awyr. Gorohoian!
Cerdd wiwlwys engyl glwys glân;
Cân felus gorfoleddus lu
Yn uchel lawenychu;
O herwydd i Satan haeru yn noeth,
Y gwnaethai Iob bechu;
Ac hyn y maent yn canu
Y FALL BALCH NID FELLY BU!

Miloedd filoedd! pob un a fola
O'r nefoedd luoedd: HALELUIAH!
Gorfoledd am ddiwedd mòr dda; mewn pryd
Daw i Iob wynfyd o'i wyw boenfa.

Do ! ciliodd, ffoiodd; deufwy ffawd a ddaeth
Yn lle ei ddu drallawd;
Yn lle gair mefl, a gwefl gwawd,
Miloedd yn talu molawd.

Os cyfoethawg enwawg oedd
Gynnau, a'i dda yn gannoedd
A miloedd. Mwy a welir,
Mwy ! mae deufwy, ar ei dir
Heddyw o dda byw yn bod;
Miloedd fwy o gamelod;
Mil amlach bref ei ddefaid,
Dwy gorlan pob corlan caid.
Ac ychain oedd gannoedd gynt,
Yn ddedwydd filoedd ydynt;
A'i gannoedd esyn gynnau,
O'i gylch ynt filoedd yn gwau;
Ac yntau 'n mwynhau mewn hedd
Faith rif ei gyfoeth rhyfedd.

Ha ! alar ; gwell ei helynt
O laweroedd nog oedd gynt.

Ah ! hyfryd fyd wrth ei fodd,
Ar ei gyfer a gafodd,
Drwy oes hir, y diwair sant
Oes euraidd heb ail soriant.

I roi 'n ei gylch eirion gant,
A'i lenwi o wiw loniant;

Ail-deulu o'i ddeutu 'ddaeth,
Ar ei aelwyd fawr helaeth :
Meibion prydferth cydnerth call,
O dda a chyflym ddeall ;
A merched deced a'r dydd,
O hynod glod trwy'r gwledydd :
Glanach nac eu harddach hwy,
Nid oedd yn ddichonadwy.

Rhyfedd yw ffyrdd, myrdd a mwy,
Ein Ior : neud annirnadwy !
Ynt argel, ond diŵyrgam ;
O dan gêl ; ond nid yn gam.

Cafodd Iob wledd diwedd da,
Hedd ; hwyfyd ; nawdd Iehofah !

# AWDL.

## CERDDORIAETH.

* * Our seers and poets have confess'd
That Music's force can tame the savage breast;
Can make the wolf, or foaming boar restrain
His rage; the Lion drop his crested mane
Attentive to the song; the Lynx forget
His wrath to man, and lick the minstrel's feet.
PRIOR.

YMESGOR, fwyn Gerddoriaeth,—ar ffrwythau
Pur eiriau peroriaeth,
Nes bo llon y galon gaeth,
Dañ nawdd dy awenyddiaeth.

Rhoddi ddaioni i ddynion,—yn rhwydd,
Rhoi dda ddymunolion:
Rhoi ganiadau lleisiau llon,
O nef urddas i feirddion.

Bydd i ddyddiau droi yn oriau
Gan dy ddoniau, gwên diddanwch;
A blynyddoedd megys misoedd,
Trwy ddiferoedd tra ddifyrwch.

Hynod uchel a hen yw d' achau,
'R hen fyd odiaeth a'r heinif dadau,
Ti a lonaist â sain telynau,—
Hoff i'r enaid yw d' offerynau.

Am hen bethau, yr hen dadau
Cywrain, dedwydd;
I Gerddoriaeth rhoent ganmoliaeth
Helaeth hylwydd.

Nes i chwilgwn llym o annwn,
Oll ymunaw,
O bair tân, i beri twrf,
Mawr gynhwrf, môr o gwynaw.

Gan beri drygioni drwg anian,
Mwy dewr a hyll ymdori allan;
A môr o bechod mawr a bychan,
Yn ddir i lwydaw'r ddaiar lydan,
O wedd aethus, nes ydoedd weithiau,
Ow! yn ddieflig annedd ddu aflan.

O achos hyn, och a saeth
Ddu arw a ga'dd Cerddoriaeth;

Y ffol annuwiol ddi Nêr,
Hirfaith wnai ei cham-arfer:
Ai'r byd yn gryglyd o'r gwraidd,
Heb ddwyfawl fawl nefolaidd.
Yn lle sain fal llais o nef,
A dewislais da oslef;

Ing a swn anghyssonaidd,
Gan ruaw, drwyddaw a draidd;
Nes llwyr ymagor dôr dig
Ffwrnais dialedd ffyrnig,
I droi'r byd anhyfryd hwn,
Tro iawn, i ddystryw annwn.

Ond gwedi'r hin erwinawl,
Pan glwyfwyd a maeddwyd mawl,
Newydd fyd o wynfyd wedd,
Naf a roi, a thangnefedd:
Neud gwenai yn deg uniawn,
O newydd, llawenydd llawn.

Wele! daiar yn ail flodeuo,
Maesydd a gweunydd yn egino,
A phob peth gwyw yn adfywio,—a mawl
Bêr a nefawl drwy'r wybr yn nofio.

Doi Cerddoriaeth deg, hardd, euraidd,
Un hoff, wâr, un wiw, a pheraidd,
Un wir enwog, un rianaidd,
Lawn o fêl o lin nefolaidd.

Yn ddioedi, ar dda adeg,
I fyd newydd o nef wiwdeg;
I lawn ail ennyn
Awen Duw'n y dyn,
Iawn hydyn a hoywdeg.

Ail anfonai lân, fwynaidd,—da, lonwych,
Delynau i'r pruddaidd;
Ac â'i mwynlan lais arianaidd
Y rhoi eilwaith yn rheolaidd
Y dyryslyd fyd anfadaidd;
Trwy'i hynod barod ddawn beraidd,
Daiar gron ai'n dirionaidd,—ai drosti,
Er edwi'n hyfrydaidd.

Ar edyn hylawn aur-daen a helaeth,
Cywiraidd, eirian, yr ai Cerddoriaeth
Eto i ail dario'n mhob gwladwriaeth,
Gan roi i'w yfed gwin o wir afiaeth
I bob serchog gym'dogaeth, i feirddion,
A chantorion o burwych anturiaeth.

Dyddanai, llonai Asia bellenig,
A phob bryn a dyffryn yn ngwlad Affrig;
Yna'n barodol, hi ai'n buredig
I wych haelfras Ewropia uchelfrig;
Ac yn raddol o'r cynhwr' eiddig,—ar g'oedd,
Hi ai drwy'r moroedd draw i'r Amerig.

A lle'r elai, hi a fyddai
O wiw foddion
I droi nwydau hyll o giliau
Yr holl galon.

Ac i ddofi pob drygioni,
Pob drwg anwes,
A gartrefai, neu hir fenai
Ar y fynwes.

O ddawn ! hi ddofai ddynion
Afluniaidd, crasaidd, croesion,
Afrywiawl, hollawl hyllion,
Yn tyru geiriau taerion,
Yn magu drwg ddych'mygion,
A charu pethau chwerwon ;
Gan hau rhyw o gynar had,
Dir fwriad da arferion.

Orpheus hen, pen llawenydd,
Rhoi brawf o'i ddawn rhadlawn rhydd,
Ei ganüon mwynion, mad,
Cywrain, oedd gerddi cariad ;
O'i law dda do'i fêl i ddyn,
Do'i'r diliau drwy ei delyn.

Bwystfilod milain gan ei sain synent,
A chan mor hyfryd, diwyd gwrandawent.
Hir ing hefyd a'u natur anghofient,
Ac màl diniwaid ddefaid ymddofent ;
Yn glau er mwyn a glywent,—olynol,
Yn llu gwareiddiol hwy oll gorweddent.

O ryw fôr lanw gan ddirfawr lawenydd,
Y llonai gwedi llwyni o goedydd ;
Dwylaw a gurent goruwch y dolydd,
Tra'u gwallt yn llifo o ddeutu'r gelltydd.
Y gorwylltion afonydd,—er rhiwiau,
Ni safent hwythau yn llynau llonydd.

Hoff i AMPHION
Oedd dant mwynaidd dôn,
Medd hanesion am wedd hen oesau;
A'i dda gân, ddi-gas,
O ddyn! gwnai ddinas,
Gwnai furiau addas, gwnai fawreddau.

Mwyn ARION galonwych,
O'r rhai gynt oedd gantor gwych;
Buan i'r man y mynai
Ar dòn yr eigion yr ai,
A physg llon, breisgion, heb ri'
I'w ddilyn a'i addoli:
Ei gân oedd mor ragorol,
Dan wau ai heigiau o'i hol;
Dan garu neidio'n gywrain,
A than gyd-ymblethu'n gain.

HOMER ddall, tra mawr ei ddawn,
A gofir yma'n gyfiawn;
Ag organ ai'n gywirgall,
Wr llwyd, o'r naill dref i'r llall,
Dan ganu'n bêr wrth glera,
Arwrol gân ddyddan, dda.

Angelion mwynion eu mawl,
A ganent gerdd blygeiniawl
I uchaf NAF y nefoedd,
Llonaf lu, â llawen floedd;
Cyn bod y byd, hoywfyd hwn,
Neu unwaith son am annwn.

A gwedi creu yn gadarn
Yr holl fyd heb ddybryd ddarn,
Rhoent foliant ar dant aur da,
Hwyl lawen, Haleliwiah :
A chyfarch y gor'chafion
Oedd Sanct, Sanct, Sanct, rymus Ion.

Eu dwned clywai dynion—yn fore,
(O nef eiriau mwynion !)
A'r ddaiar ai'n llafar llon,
Fal llafar y nefolion.

Da eiliai Jubal delyn,—o aur gwych,
Ac organ i'w dilyn ;
Ei ddoniau oedd i ennyn
Gân i Dduw yn bur gan ddyn.

Gwelwyd Miriam ddinam, dda,
Barac a'r fwyn Deborah,
Yn canu pêr acenion,
Gan fawrhau gwiw radau'r Ion.

Lluoedd eraill tra llawen,—a genynt,
A gwiw gynil awen ;
Mawl haeddawl, aml, addien,
I'r trag'wyddawl bywiawl Ben.

Canu wnai Dafydd acenion dwyfawl,
O naws puredig awen ysprydawl ;
Wele fawr rinwedd, a'i law freiniawl.
Tynai o'r tannau seiniau cyssonawl,

Tynai nes gyrai o'r gwrawl—Saul ddig,
Ei lew iawn ffyrnig elyn uffernawl.

O wiw nef ddoniau ! pe bawn feddiannydd
Ar ddawn difai fal rhwydd awen Dafydd,
Chwai diflanai cenfigen aflonydd,
Meddiannai'r Eisteddfod glod y gwledydd ;
Heb unon do'i'r Sais beunydd—â chalon
Lon, a phob dynion dan ei hadenydd.

Yr Wyddfa yn ireiddfwyn,—y 'Renig,
A'r Aran yn addfwyn ;
Idris a Plumon hydrwyn,
Neidient, carlament fal ŵyn.

Nid oes o waith mwy dewisawl,—na ddawr
Cerddoriaeth yn hollawl ;
Hi fedr bob peth,—medr bob mawl,
Yn wastad a gorchestawl.

Pâr roi heddwch a dyddanwch
Da i ddynion ;
Erbyn poenau, hi gais eiriau
O gysuron.

Trwy wir ffraeth Gerddoriaeth gynt
Y Derwyddon dewr oeddynt ;
Yn llu hardd drwy allu hon,
Rhwystrent fyddin yr estron ;
Nid ofnent hwy eu dyfnion—wàr galed
Faleisddrwg elynion.

Gan angel dirgel a dyn
Etholwaith—crwth a thelyn;
Heb y rhai'n i beri hedd
Wylai y byd o waeledd;
Ai'n gysglyd, drymllyd, yn drist,
Dieithrai gan rwd athrist.

Yn lle gweled llu gwiwlan,—a llonwych,
Yn llenwi pob caban;
Heb beroriaeth pur eirian,
Cae'm wedd ddi'mgeledd a gwan.

O! hoff gan bawb ei heffaith,
Yn bur y sierid bob iaith;
Ei doniau hi a'i denodd
Oll yma mewn mwyna' modd,
I fyg wlad i brofi gwledd
Gynes Eisteddfod GWYNEDD.

Mae'n anwyl—yma'n unair,
'Galon wrth galon' a gair;
A thra dàl y ddwy galon,
Llaw mewn llaw a theulu llon;

Bydd Cerddorion, telynorion,
A phibyddion, a phob addysg;
A chantorion, mwyn brydyddion,
A llon feirddion llawn o fawrddysg;

Yn NGHYMRU yn clymu clod,
Hyd dyddfarn mewn Eisteddfod.

# A W D L.

Awdl er coffadwriaeth am y diweddar Barch. Joseph Harries, (*Gomer*,) Golygydd cyntefin "Seren Gomer;" ac hefyd am ei fab a'i gynnorthwywr yn y gwaith, y diweddar Ieuan Ddu o Lantawy.

Enwogion ddynion a haeddiannant barch,
Trwy y byd, a chofiant;
Oh enwau gwiw! hyn a gânt
Yn elw, sef anfarwoliant.

Bu i Gymru
Enwogion lu, gynnau lawer;
Testunau chwedl
Ynt i'w cenedl, iddynt caner.

O'r nifer Gomer a gawn i'w gofiaw,
Hen gyfaill parchuslawn;
Mur oedd ef, gwr mawr ei ddawn,
A thwrle i'n hiaith eirlawn.

Gwenai Hanes pan ei ganwyd, a'i llech
Yn un llaw a welwyd;
Un fodd hefyd canfyddwyd,
Hoff yn y llall ei phin llwyd.

O hyny allan Hanes a'i dygai
Yn deg yn ei monwes;
I'w bachgen llawen, er lles
Mawl yn raddawl a roddes.
Tra 'n ieuanc, tra 'n llanc llon, ei hetifedd!
Nes tyfu 'n wr tirion;
Wedi cael yr adeg hon,
Helaethai ei fawl weithion.

Cof gan lawer
Seren Gomer seirian, gemwaith,
Gan môr deced
A gorhoffed gwawr ei heffaith:
Pan gododd, llonodd pob lle,
A gwelai 'r byd ei gole.
Sylwai Hanes ar ei seilydd;
Lluniai iddo y llawenydd
Draw a gludai drwy y gwledydd;
A meib i'w anerch, mwy beunydd.
Neud cofnodau ddyfod cyfnewidiad
Ar Gymru hardd wiwgu, mawr ddiwygiad
Ac i'w hiaith, deg-fadiaith, adgyfodiad;
Ac ar y Cymry gwyw ryw ymroad,
Ryw ysig loes dros eu gwlad, i'w chodi,
Gwedi hir sylwi ar ei hiseliad.
Gwir y geiriau,
Nid gŵyr, nid gau!
Mae heddyw, 'ngwlad ein tadau, feib trefnus,
Oll yn llafurus yn darllen llyfrau,
'N darllen gweithydd llên yn llu, yn eu hiaith,

A hithau 'n eu denu
Mor fwyn ; SEREN GOMER fu,
Yr achos o'r ymdrechu.
Oes aur er dyddiau 'r SEREN,
A fu i GYMRU deg wèn !

Llënyddiaeth sydd yn lluniaw addysg,
Lle bu aer torfoedd, llwybrau terfysg ;
Mwy o dda, syched am ddysg, dysgu 'n fyw
Weithion heddyw yr iaith yn hyddysg.
Llethig ynt y llwythawg weisg,
Ein gorhoffus argraffweisg ;
Crynant, gorlefant gan loes,
Mynych gwaeddant am einioes ;
Ond er uched yr achwyn,
Ac er twrf cynhwrf eu cwyn,
Tŷn i'w gwynos tan ganu
'R argraffydd, llywydd y llu ;
Ac eistedd, nid oes llai 'r gosteg
Nac mewn ffair, ar gadair deg,
A'i ddwylaw ar ei ddeilin,
Llonaf lanc, yn llawen flin ;
Gan hwyliaw, draw yn ei drig,
Am yru i'r AMERIG
Nifer o'i lyfrau dros fôr Neifion lwyd
I law Cymreigyddion ;
O'r un lle nifer yn llon
Draw i'r INDIA drwy 'r wèndòn.

O fy henwlad ! fwynwlad ferth !
Er ei hadfyd, mòr brydferth

Ei hagwedd a'i gwedd heddyw;
A llun ei dull, loned yw!
Uwch ben nid un Seren sydd,
Ruddaur Seren foreuddydd,
Ond haul, gwawl araul eirian,
A mawr lwydd ar Gymru lân;
Ac i'w hiaith, er unwaith ŵg,
Ymled a chynnydd amlwg.

Taenir a phrynir yn Ffrainc,[1]
Gwir yw, gan ei gwyr ieuainc,
Llyfrau 'n hiaith; llafuria 'n hon
Ei hagwrdd ysgolheigion.
Hefyd drwy 'r Allmaen hyfawl,
Yn orau modd, taenir mawl,
Y wiw Gymraeg, miriawg iaith,
Hyned a'r hynaf heniaith.

Parcher enw Gomer! teg,
A haeddawl hyny heddyw:
Cynhyrfiad i'r wlad, hir les,
O'i fawr aidd ef a roddes.

[1] Ar ol cyfansoddi y darn hwn o'r Awdl, gwelodd yr Awdwr, gyda llawenydd, ddarfod i T. W. Booker, Yswain, sylwi yn ei araeth o flaen Cymreigyddion Caerdydd, (Ebrill 18, 1838,) ar yr ymegnïad ag oedd yn y dyddiau hyny yn yr Allmaen, Ffrainc, ac eraill wledydd i ddysgu yr iaith Gymraeg. Nid ffug chwedl ydyw hyn; canys y mae dysgedigion yn yr ieithoedd Dwyreiniawl, yn y diwedd, wedi agoryd eu llygaid i weled fod gwybodaeth o'r Gymraeg yn anhebgorawl iddynt tu ag at ddeall yn drwyadl yr ieithoedd hyny, o herwydd ei chyfathrach â hwynt o barth haniad, geiriau a chystrawen.

Pieufodd glod ! a'i fab hefyd ; y llanc
Oedd yn llên o'i febyd ;
Dïanaf rai, dau un fryd,
Gwiw, da, dysgedig, diwyd.

Ei wlad, màl ei dad, fab doeth ! a garai
Goruwch pob rhyw gyfoeth ;
Bonedd ei genedl beunoeth,
Yn mrig hyn y Gymraeg goeth.

Gwiw foethus ei gyfieithad,
A'n gwledd oedd yn iaith ein gwlad,
Medd cant ;— "Adfeddiant Gwynfa" fad ;
Miltwn, gwinfaeth ganiad. [gwynfa .
Ond Ow ; cyfieithad Ieuan
O'r nefawl ragorawl gân,
Gofid yw, nid yw gyfan ; O ein bardd !
Mae yn y bedd weithian.

Ei farw i'w dad anfad oedd,
O'ch o'r adeg, chwerw ydoedd !
Beunydd trwy y gloywddydd glân,
Mwyach gwnai sôn am Ieuan.

Edwinai, llwydai 'r gwr llên,
A'i lewyrch nid oedd lawen ;
Aml gyrchai, llwybrai i'r Llan
Yn ei ddu at fedd Ieuan.

Ni chêl grudd gystudd bron gaeth,
Yn curiaw dan rwyg hiraeth;
Heddyw bron wyw, brwyn Awen,
Ac heb un gwyneb â gwên;
Herwydd, newydd oergri nâd,
Marw Gomer fawr gymmeriad.
Wyl y wlad am dad oedd dŵr
Er nawdd i'r Awenyddwr,
Yna wylo wna eilwaith
Am Ieuan wiwlan ei waith.
Drwy Eglwys Fair drygloes fu,
Ië cledd, ddydd y claddu.

Yn iach, Gomer! dyner dad;
Yn iach, Ieuan! glân ei glod;
Cu-wyr glew 'n caru eu gwlad,
I Gymru bu da eu bod.

Hardd ddiwall wiw werdd Ywen,
Iraidd ei brig agwrdd bren,
Planer; gweler tan goledd,
O wir barch wrth ochr eu bedd,
Yn wych, Pand? goruwch eu pen
Rhyweddai tirf lawrwydden.

Yr angau, hacraf ringyll,
Mŷn ei hawl â'i gryman hyll;
Dïalydd a medelwr
Pawb erioed, Ow! pob rhyw wr.
I'n rhyw ni, Ah! rhoi a wnaeth
Adloes drwg bob cenedlaeth.

Ond er marw ein GOMER gall, 147
A'i dori i wlad arall;
Dïau, os ymadawodd
IEUAN ei fab yr un fodd:
Iaith ddilom hardd ein GOMER, 151
Saif hono tra safo ser.[1]

[1] Ieuan a gyfieithodd gryn lawer o *Paradise Regained* i'r Gymraeg, ar yr un mesur ag y cyfieithwyd *Paradise Lost* gan y Dr. Pughe; ond bu farw cyn gorphen y gwaith. Gwel *Seren Gomer*, t d. 459.

# AWDL.

## TRAFNIDIAETH.

Arglwyddes, yn mynwes môr,
Gŷr i lawer goror,
A chonglau pell barthau byd,
I'w eithafoedd maith hefyd;
Dy longau, nwyddau un wedd,
O Brydain! firain fawredd.

Goludawg uwch y gwledydd—oll ydwyt,
Lledu mae dy gynnydd;
Wlad gu! ni fu, ac ni fydd,
Iaith foliant, yth efelydd.

Gwelwch ei llongau gwiwlon,
Eofn daith, ar gefn y dôn;
Yn llu 'n gwenu ar y gwynt,
Yn moriaw o flaen mawrwynt.

Nid ofnant foroedd dyfnion,—neu wyntoedd,
Mewn antur, na Neifion;
Ar daith, gan gusanu 'r dôn,
Hwy a rwygant yr eigion.

Llonant wledydd pellenig,
Lle 'r ant hwy a ddofant ddig.

O'n gwlad gwnant iawn gludaw—i ddynion
Feddiannau i'w dwylaw;
Siriawl gwnant eu cysuraw
A math rwysg, yma a thraw.

Hynodawl yw Trafnidiaeth,
Onid tref yw pob cefn traeth?

Dychwelant, deuant o daith,
Oll yn ol yn llawn eilwaith
O ffrwythau, moethau i'n mysg,
Gemau o bris yn gymmysg:
O ddewisedig dda sidan, o aur,
Myrieryd ac arian!
O rinwedd ystôr anian,
Golud mud pob gwlad a màn.

Annedwydd heb drafnidiaeth—a fyddem,
Heb foddion cysuriaeth;
A phob gwr mewn cyfiwr caeth,
Yn welw heb fawr gynnaliaeth.

Trafnidiaeth, ein lles; arglwyddes ein gwledd-
Dy wenau eisys ar ein dinasoedd, [oedd!
Gan ladd angen, wnaeth lawen deuluoedd;
Gan roi 'n lle eisieu gwin, aeron, llysoedd:
Gwenu a wneist a digon oedd—rhag cur,
Yn nghanol antur, ing, neu helyntoedd.

Lle mae anialwch llwm mwy ni welir,
Trwy trafnidiaw draw yn ddôl a dröir;
Ac i'r eigion y creigiau a rwygir,[1]
Lleng onaddunt, a'r llongau a noddir:
Ac eto safle coedtir,—a thir crâs,
Gan ryw frâs ddinas a feddiennir.

Os ydoedd Tyrus a Sidon [2]—yn nodawl,
  Am Drafnidiaeth cysson;
  Os am Tartessus bu sôn,
  A muriau eu llongau mawrion:

Sôn mwy am Brydain sydd,—gwiw ei llongau!
  Gollyngir hwy beunydd
  Draw i'r môr, a rhagor rhydd
  I'w fynwes o'i hafonydd.

    Bu Orphir [3] dir, gwlad y dòn,
    Sail yma llongau Sol'mon;
    Bu Ninefeh yn lle llòn,
    Bu eilwaith hen Babilon;
    Bu Carthago [4] gryno gref,
    A nwyddau yn ei haddef.

[1] Cyfeiriad at wneuthur porthladdau llougbyrth, &c.

[2] Tyrus, Sidon, a Thartessus (Tarsis) yn yr Ysbaen, Esai. xxiii, &c.

[3] Mae gwahanawl feddyliau mewn perthynas i sefyllfa Ophir,—rhai a dybiant mai ynys Socotora ydoedd: ac eraill mai ynys Taprobana (Dephrobani,) a elwir heddyw Ceylon. M. Huet, ac ar ei ol, Bruce, a osodasant Ophir yn Sofala, yn neheubarth Affrig. 1 Bren. ix. 26, &c. Gan edrych arni fal yn ynys, gelwir hi yn yr Awdl, *Gwlad y Dòn*.

[4] Carthago: dinas yn Affrig ar lan Môr-y-canoldir, enwawg yn y cynoesoedd am ei thrafnidiaeth ac ei chyfoeth. Trefedigaeth ydoedd o Tyrus. Rhybu trafnid helaeth gynt cyd-rhyngi â Brydain.

Mae dyn i edrych am danynt—heddyw?
  Nid dyddan ei helynt;
  Nis gŵyr ond eu hanes gynt,
  Neu arwyddion lle 'r oeddynt.

Ond Prydain gain mae hi ar gynnydd,
Ac er ei chadw, Duw yw 'n gwarcheidydd;
Pâr o'i lluniaeth peri llawenydd,
Treiddiawl a mwyn, trwy ddôl a mynydd.

Tyfodd ei chariad hefyd
Yn mhob màn o bob bàn byd;
Y caethion yn rhyddion rhoes
O'u dïaledd a'u duloes;
Gwelai hwynt yn drwm galon,—ac ofnus
  A'u cefnau yn gochion;
  Yn gweithio yn rhygaethion
  Ag helbulus fregus fron.

Gwelai, dattodai eu tid,
Rhoddai iddynt eu rhyddid;
Rhyddid ar ol trafnid trwch,
A dyddiau annedwyddwch;
Rhoddai, heblaw eu rhyddid,
Llyfr Duw, yn ol llifiaw 'r did.

O Brydain hen! ein brodir
Hyfrydaf, dedwyddaf dir;
Daw agerdd gwyllt dïegwan,
Awyr a thir, dwr a thân;
A'r gwynt yn ei hynt mewn hwyl,
I dy weini, wlad anwyl!

Rhëoled dy longau y môr heli, 93
Ar dòn dwg elynion i wan-galoni;
Hwylia 'n falch, llongau 'r gelyn a fylchi;
Du fôr a adrawdd nerth dy fawrhydri:
O Ynys! hoff dy enwi di yn ben, 97
Ein hynys wèn hoenus o wiw yni.

Ynys heb ail, Brenhines byd! —ynot
Mae annedd dedwyddfyd; 101
Trafnidiaeth helaeth o hyd
A feddi, wlad celfyddyd!

Dy enw da a adwaenir,
A'th ofn, yn mhob gwlad a thir; 105
Serchog a thrugarog wyt,
A chadarn mewn cyrch ydwyt;
Gelyn a beri giliaw,
Hyll ei drem, a sefyll draw. 109
Hoff wlad! dy arddelwad fflwch,
Rhyddid, Llawnder, a Heddwch.

# AWDL.

## HIRAETH CYMRO AM EI WLAD MEWN BRO ESTRONAWL.

HIRAETH ysywaeth y sydd—i'm dilyn
  A mwy dolur beunydd;
Ni ddaw dim yn niwedd dydd
I'r enaid, ond MEIRIONYDD.

Am GYMRU gû a'i theg iaith,
Cwyno 'r wyf lawer canwaith ;
  Ond yn benaf
  Pan feddyliaf
  A myfyriaf fi am FEIRION,
  A'i mynyddau,
  A'i theg fryniau,
  Gloywiw dyrau ein gwlad dirion.

Yn lle gwenu—synu sydd—
Trostwyf mae eithaf tristẏdd,
A wna 'm bron dirion dori,
Wlad ragorol, a'r d' ôl di ;
Ac ar ôl, nid siriol sôn,
Dethol a hen Gymdeithion.

Pob dydd newydd
Y mae beunydd mwy o benyd,
Mwy o ruddfan,
A mwy wban, o fy mebyd.

A'r nos drysu o wir-naws draserch
Yr wy'; gan lunio ryw gain lannerch
O'r wlad,—a siarad o serch—yn neffro
Ow! hono heb Gymro i'm hannerch.

Ac os cysgwyf yttwyf etto,
Yn brudd odiaeth yn breuddwydio
Am lawenydd, neu am lunio
Bryn a dyffryn—yna deffro.

Ni fu fwy glwy' o fewn gwlad
Na chûr hiraeth a chariad;
Gwna hyll friwiau,
Dwfn weliau
A doluriau, dial irad!
Draw o'r golwg drwy 'r galon
I'r eigion—dirfawr rwygiad.

Nid oes genyf onid dŵys gwynion,
Blin wy' a gwael heb lawen galon:
O! mae 'n alar, heb ddymunolion;
(O achos hiraeth) na chysuron.

Os wy 'i ar farw am hen sîr Feirion,
Beth am filoedd tros y moroedd mawrion

A gariwyd ymaith i lefydd geirwon
Yn llwyd odiaeth i fod yn alldudion
O dir eu gwlad drwy galedion—lawer
O flinder; flinder ar foel wendon.

Gwae laweroedd ! mŏr drwm y galarant
Am nad oes obaith fynyd o seibiant
O'u poenau—loesion, er pan hwyliasant:
Cymru a geir ac amryw a garant,
Yn eu golwg; mynych gwelant—o'u hol
Y lle dewisol a'r llu adawsant.

# AWDL.

## I'R GYMDEITHAS FRYTANAIDD A THRAMOR.

Fawr Gymdeithas,
Gywir addas, } gôr o eddyl.

Gwel un hynod
Mewn da ammod } mae 'n dy ymyl:

Yn llawn o ras,
Gydag urddas, } O ! cynnydded.
Ac yn addas,

Ganddi 'n gyhoedd
Gair geiff bobloedd } (Duw a foled.)
Diau filoedd,

Gair Duw 'n ddilys, sy'n felus gan filoedd;
Gair yw perffeithiaf feddai Naf nefoedd;
Gair aeth o Brydain firain, dros foroedd;
Gair yw â llewyrch, ac a gâr lluoedd;
Gair yw 'r Bibl, geir i'r bobloedd, gair helaeth,
Gair iawn odiaeth, goreu i ni ydoedd.

Da yw' n Ion, Duw uniawnwedd !
Drwy ei gywrain drugaredd,
Yn rhad, ni gawn anrhydedd
Gwir felus, a gorfoledd ;

Er cymmaint yw 'r camwedd
O drasau[1] ! daw edrysedd[2]
O Fiblau, dïau i'r doeth,
A'r annoeth, gael o'u rhinwedd.
Biblau, a'u geiriau ar g 'oedd,
Biblau, i bob rhyw bobloedd,

Ar led, cawn weled yn wir
Dawnus waith, o dan y ser ;
Yr Arglwydd wna fawrlwydd dros fôr,
A'i eiddo syw, fydd byw 'n bur.

Plant ffyddlon Sïon y sydd—ac eraill
Sy'n caru llawenydd ;
Iddi rhowch, a rhowch yn rhydd,
O'ch golud, efo 'ch gilydd.

[1] Perthynasau. [2] Digonedd.

# ENGLYNION.

**Yr Englynion canlynawl a adroddwyd yn Eisteddfod Caerdydd, ar Ddydd-gwyl geni ei Fawrhydi Gwilym IV. Awst 21, 1834.**

Hir ymwriaw ar y moroedd a fu
  Hir ddifa dinasoedd;
  Tra i'n hynys echrys oedd
  Llwon dramor alluoedd.

Gelyn ar dir yn bygylu, neud oedd
  Ofnadwy ei allu;
  Tra llong ar long gwys lu,
  O'r eigion yn hir wgu.

Teilwng tŷ Brunswic a'i talai iddo,
  Ei haeddïant a haeddai;
  Ac Heddwch o'r llwch a'r llai,
  Yn gadarn ail ymgodai.

Mordwyaw am wyr duon fu unwaith,
  Gefynu cyd-ddynion;
  Heb rif y caethid o'r bron,
  Oer adwyth, màl rhyw eidion.

Duw Ior! Gwilym y Pedwerydd, dy was,
Dewiswn ei gynnydd;
Caethion o'u gloes rhoes yn rhydd
O'u briwiau ânt i'w bröydd.

Llwydded a gweled hirdeg oes, mewn hedd,
Er mwyn hoeddi anfoes:
A chraff bob rhyw gam a chroes
Iawned cyn diwedd einioes.

## LLYN TEGID.

Yr Englynion hyn a ennillasant yr Ariandlws yn Eisteddfod y Bala, Awst 12fed 1836.

Bysgodwyr! llenwch eich Basgedau—'n llawn
Llenwch o'r pysg gorau;
Mil o hyd sydd yn amlhâu
Yn ei dirion ddyfnderau.

O Benllyn[1]! i'th Lyn maith o luniad teg,
Nid digon fy nghaniad;
Dwfr iach gloyw: difyrwch gwlad,
Yn ei li a'i alawiad.

[1] O Benllyn:— Penllyn, yn Meirion, oedd diriogaeth Tegid Foel, llywydd, neu dywysawg, yn y chwechfed ganrif. Yn y ddeuddegfed ganrif yr ydoedd yn eiddo Rhirid Flaidd, Arglwydd Penllyn; ond heddyw eiddo Syr Watkin Williams Wynn ydyw. Cynnwys Penllyn, bump o blwyfau; sef Llanuwchllyn; Llangower; Llanycil; Llanfor; Llandderfel. Cydrhwng y Plwyfydd hyn y gorwedd Llyn Tegid; ac o herwydd hyny yr enwir y Llyn gan y Saeson, *Pimplemeer*.

Alawiad dwnad y tonau, mwyn yw
Min nos ar ei lànau;
Ac o'r tir gwelir yn gwau
Gwŷn eleirch dan gain hwyliau.

Goror y wybrenawg ARAN[1]! ynot
Mae 'r enwawg Lyn llydan;
Croni y lli rhwng pump Llan
Ni elli; rhed afon allan:

DYFRDWYF[2]! trwy aml Blwyf, heb aml Blas, a Thref,
A thrwy lawer dolfras
Y'th hyrddir, maith y'th urddas,
Draw â mawr glod i'r môr glas.

HAWDDAMMAWR, Lyn mawr Meirion! LLYN TEGID!
Neud yndid ei wèndon?
Drwyot, er dyddiau 'r Drywon,
Y rhwyf y DYFRDWYF ei dòn,

Lle bu tref[3] dolef dyli 'r Llyn Heddyw,
Llon haddef ni welir;
Mwyniant y pysg ei meini
'R dydd hwn, a'i hystrydoedd hir.

[1] ARAN:—Aran yn hytrach Aren, medd y Dr. W. Owen Pughe, oblegid bod llun y mynydd yn debyg i Aren. Y mae dau fynydd uchel o'r enw, un yn Mhenllyn, a'r llall yn Mawddwy. Mae Aran Benllyn yn harddu golygfa Llyn Tegid yn fawr.

[2] DYFRDWYF, yr afon Dyfrdwyf, yr hon a elwir yn gyffredin Dyfrdwy. DWYF, yn ol traddodiad, y gelwir y hoelwal, neu y frwynen, a red trwy ganol y Llyn, heb ymgymmysgu a'i ddwfr.

[3] *Lle bu tref* &c. Yn ol hen draddodiad dywedir, a chredir hyd heddyw, fod tref y *Bala* unwaith yn sefyll yn y lle y mae y Llyn, ac iddi gael ei llyncu ganddo. Dywedai yr hen bobl fod muriau y tai i'w gweled ar rai troion. Mynych iawn y clywir y dywediad hwn "*Bala a aeth; a'r Bala a aiff*," gan ddaroganu wrth hyn y bydd i'r dref gael ei llyncu eto gan y Llyn.

## PRIODAS Y FRENHINES A THYWYSAWG ALBERT.

---

**Yr Englynion canlynawl a ennillasant yr Ariandlws yn yr Eisteddfod a gynhaliwyd yn *Lerpwl*, yn y flwyddyn 1840.**

---

HA ! un llonder, un hoen yw Llundain oll,
Un diwall arwyrain ;
Byw yw myrdd ; etyb y main :—
"PRIODWYD BANON PRYDAIN ! "

Pob tref a gydlef yn gain â lleisiau
Llïosawg gwyr Llundain ;
Gorfoledd rhyfedd y rhai 'n
Lleda drwy 'r trefydd llydain.

Llefau ! banllefau hir llon ! a llyna
'R tai 'n llawn goleuadon ;
Mae prawf i'w gael, yn mhob bron
O wir gariad i'r Goron.

Edrych trwy ëang Lywodraeth PRYDAIN,—
Darpariadau helaeth !
Yr holl fyd yn wynfyd aeth,
Hyd eigion pob cym 'dogaeth.

VICTORIA lanaf caed hiroes enwawg ;
Ein BRENHINES eirioes !
Boed o'i blaen byd heb loes,
Llawenydd drwy 'i holl einioes.

Dewisodd yn Briod Dywysawg, gwr
Da, rhagorawl, serchawg;
A cheir ei achau y rhawg
O deidiau hen godidawg.

Dygir ei hanedigaeth o uchel
Brif achau ei Dalaeth;
O Ffredrig, wraidd dewraidd, daeth,
Ei deulu, parth gwaedoliaeth.

Tŷ enwawg am Brotestaniaid ffyddlawn,
Gwyr uniawn Gwroniaid;
O'u plith hwy cyfododd plaid,
A tharian, i'r Lutheriaid.

Nodded Duw Albert addwyn, â'i Brïod,
Rhag brad, ac oer gynllwyn;
Pob awr, Ior mawr! er ein mwyn
I'w hymyl fo i'w hamwyn.

O lân Victoria! na boed hir y tro,
Cyn trwy Gymru clywir
Eni un, a hwnw yn wir
Ei Thywysawg doeth oeshir.

Ti, Ior byw, i Victoria bydd yn dŵr
Cadarn, ac Achubydd;
O'th rad, i'w Llywodraeth rydd
Hoff, hen, bydd byth Ddiffynydd.

Rhoed i ALBERT bob anrhydedd, a pharch
A phob gras a rhinwedd;
Boed iddo lawn gorfoledd,.
Bywyd hir, a byd o hedd.

## ALBERT TYWYSAWG CYMRU.

Englynion i'w Fawrhydi brenhinawl Albert, Tywysawg Cymru, Cynneiliad Eisteddfod y Fenni, Hydref 11fed a'r 12fed, 1848.

DY ŵyl, fy anwyl FENNI—olynol
Ddwg lawenydd ini;
O loned yw eleni
Fy enaid oll o'th fewn di.

GWNYEDD, POWYS, ynot a ganant gân
Gyda GWENT cyd-ganant;
A daeth hen DDYFED â'i thant
Melus er mwyhau 'r moliant.

Parch fyddo i'n Brenhines—yn wastad
Am destun hoff cynhes;
Hyrwyddaidd i'n a roddes
NODDWR, LLYW, o'i nawdd er lles.

Enwawg Dywysawg, ein dewisiad—oedd
Dy gael di 'n Gynneiliad ;[1]
Trwy 'n gwledd perchaist dir ein gwlad,
A mawr fydd dy gymmeriad.

[1] Patron.

Dedwydd o dan dy aden—y buom
Llawn bywyd, llawn Awen;
Rhagllaw ar ein gwledd lawen
Bydd Albert beunydd yn ben.

Boed gu hen Gymru gan—ein Tywysawg
Teg iesin oed bychan;
Hir einioes, hir oes i'w ran;—
Duw Ior bydd iddo 'n darian.

## GRIFFITH AB NICOLAS.

Y canlynawl oeddent yr Englynion buddugoliaethus yn Eisteddfod Caerfyrddin, 1823.

Dinefwyr, noddwyr yr awenyddion, gwyr
A garant wir Frython;
Llu o gedeirn,—llygadon
A bri y Cymry o'r bron.

O galon haelion Wehelyth,—Syr Rhys
A achosant drafyth
Yn deulu hen a dilyth,
Llawn o barch i'n lloni byth.

Bosworth o hyd hysbys—arwyddion
O ruddwaed ymladdfa:
I'r oes hon, Syr Rhys enwa
Yn ddewr ddyn o fron ddur dda.

Dinefwr o waed hynafiaid—gwelwch
O deg wiwlon enaid
Yn ddewr dda, bloeddia o blaid
Iaith henwych y Brythoniaid.

Gor hoffai gynt Syr Gryffydd—yr Awen
Lân rywiawg, a phrydydd;
'Leni Sior o'i lwynau sydd
Yn ei le yn fwyn Lywydd.

Yn addas tra fo ei nodded—i Feirdd
Caerfyrddin a Dyfed,
Fal haulwen yr Awen red
A gwiw gynnydd gogoned.

## I'R ARGLWYDDES HALL, (GWENYNEN GWENT.)

Llygad Cymru wlad, yw'th foledig enw,
Wenynen garedig!
Ei hoffedd, wraig foneddig,
Gwneyd da, lle treigla, lle trig.

Augusta Hall, ti a g 'eist hyn—Clod dy wlad;
Clod o Lydaw gwed 'yn;
Cei fwy,—Allmaen, Ffrainc a fŷn
O deilwng barch eu dilyn.

Yn deilwng hefyd y delyn a'th fawl,
A'th feirdd a'i cyd-ddilyn;
Pob bardd, pob prif-fardd a fŷn
Angeles! wneyd it' Englyn.

Gwraig yw o les gwir i'w gwlad, nid distadl
Testun ein cyd-ganiad;

Boed pob bri pob da, pob rhad,
I ran Augusta 'n wastad.

Myna di, Fenni! byth fod yn glodwych
Trwy 'n gwlad am Eisteddfod;
I Wenynen wén wiwnod,
Gwent; caner, cluder pob clod.

Iaith ei gwlad yw byth ei gwledd, yn astud
Augusta a'i coledd;
Ac mewn un man o'i hannedd
Telyn fwyn, wiwfwyn a fedd.

## YMWELIAD TEGID A DANIEL DDU,

I'w gyfarch ar adferiad ei iechyd, ar ol hir gystudd.

*Gwyw gan hiraeth.* Diar.

Daniel Ddu! 'r niwl du yn wawl daeth, a'th nych
Aeth yn iechyd helaeth;
Diau 'n wir mai Duw a wnaeth
Y dirion iechydwriaeth.

Mawl ar fawl; rho fawl didawl fyw, yn rhwydd
I'th Arglwydd a'th erglyw;
Dod fawl, nerth dy iechyd yw,
A gwed trugarawg ydyw.

O wely ing, o law angeu, Ior byw
O'r bedd a'i briddellau,
Rhoi hedd a wnaeth, a rhyddhâu
Dy enaid o'r cadwynau.

## CYFARCHIAD Y BEIRDD,[1]

A wnaed yn ddifyfyr, wrth waith DANIEL DDU, a IOAN TEGID yn cyfarfod yn ddisymwth yn mhentref y Cribin, Ceredigion. DANIEL DDU oedd yn barod i feddwl mai o'r BALA yr oedd TEGID yn teithio, am ei fod yn gwybod fod rhieni TEGID yn byw yno.

---

DANIEL DDU.

YN gry 'deg mi a greda'—taw agwedd
TEGID hoff sydd yma;
Daeth y gwr, brydyddwr da;
Ar ebolyn o'r BALA.

ATEB TEGID.

AR ebolyn o'r BALA—y daethum,
Fardd dethol, hyd yma:
Y nos CAERFYRDDIN a wna',
Eresfardd, fy arosfa.

## YR IFORIAID.

---

NIFERI yr hael IFORIAID—a fo
Yn fwyfwy yn ddibaid;
A mwy 'n mhob plwy' fo o'u plaid,
Am hyn dymuna 'm henaid,

Harddu hen GYMRU eu gwaith—a chwiliaw
A choledd eu mamiaith;
Carwn oll ein cywrain iaith,
Hyned a'r hynaf heniaith.

[1] Gwel "Gwinllan y Bardd," t. d. 227.

IFORIAID boent yn niferoedd—mawrion
Yn NGHYMRU a'i chylchoedd;
I blaid y gwir, gyda bloedd,
Deled yr holl ardaloedd.

Caredig rai, cywir ydynt—dynion
A daioni ynddynt;
Oll yn ing cyfeillion ynt,
O! bydded rhwydd-deb iddynt.

## I JOSUA WALMSLEY, YSW.

Maer Lle'rpwl, er coffa am y ciniaw a roddes i'r Cymry dydd olaf Eisteddfod Gadeiriawl y Gordofigion; sef ar y 18fed dydd o Fehefin, 1840.

---

YN llafar i FAER Llynlleifiad rhoddwn
Wr haeddawl wiw ganiad;
Wele draw o'i law arlwyad,
Enwawg wledd i wyr ein gwlad.

O WALMSLEY! 'n mhob lle ti a'n Llywydd glân,
A geiff glod y Prydydd;
Lluniaist wledd a llawenydd
Mwy dy enw yn ddi farw fydd,

E roddodd o'i barch arwyddion, wr hael
O flaen yr holl SAESON;
Moethau a gawsom weithion:
Hawddfyd wledd! eisteddfod lôn!

## I WAITH DAFYDD IONAWR,

**Sef argraffiad newydd, yn cynnwys ei holl Waith Barddonawl.**

---

CLUDFA o waith bardd clodfawr,—Hawddam-
Sydd yma 'n wych drysawr; [mawr !
E fydd i'n DAFYDD IONAWR,
O fewn ei waith, fyw yn awr.

Mawredd a gafodd MEIRION—o'i eni
O fewn ei chyffinion;
Gwiw iawn yw ei ganeuon,
Duwinydd, Awenydd ION.

Hoffai coleddai lwyddiant,—yr Awen;
Trwy ei oes hir y cânt:
A'i gân i DDUW GOGONIANT
A'i oes hir, a roes y sant.

## I DAFYDD AB IOAN,

**Gwëydd a Phrydydd yn Llangollen.**

---

DAFYDD gwr celfydd call,—y Gwëydd
Ag awen synwyrgall;
Am Englyn da, da diwall,
Un gwr dy drechu nis gall.

Anfonaist im' yn fwynaidd—annerchiad
Yn barchus garuaidd,
Englynion, nes i'm bron braidd
Hollti gan hiraeth halltaidd.

Cofiwn yr oll am LANGOLLEN,—y man 9
Lle dro bum yn darllen;[1]
Lluoedd yn cyrchu 'n llawen
Gŵyl a Sul i'r Eglwys hen. 12

Clyw bellach draw, a bydd lawen—odiaeth
Ddywediad yr Awen:
Nid oes, nis caed, is y nen
Un Llan gwell no LLANGOLLEN. 16

## "LLWYDDIANT COLEG IESU."

Englynion Buddugoliaethawl ar Destun Barddonawl Cymdeithas Coleg Iesu, Rhydychain.

---

Gwiw oesoedd i GOLEG IESU—lawer
I oleuo CYMRU;
Efe sydd, fydd, ac a fu
Y gwynaf HAUL yn gwenu. 4

O! da mynych dymunaf—o galon
It' Goleg anwylaf;
A dyddiau o'r dedwyddaf,
Doethion wŷr—a bendith Nâf. 8

Mwy cynnydd ar dy amcanion—Goleg
O! gweled dy feibion;
Drwyddot doed ymadroddion
A wna GYMRU lwysgu 'n lon. 12

[1] Bu yr Awdur flynyddau yn ol, yn gweinidogaethu yn Eglwys Llangollen am wyth Sul. Mór liosawg oedd y gynnulleidfa yno, nes gorfod i'r rhan fwyaf o honynt sefyll ar eu traed.

O! Goleg meibion GWALIA—gwerdd ydwyt,
Eu gardd odidoca';
Dïos ynot blodeua
Pob addysg, pob dysg, pob da.

Ein calon yw y Coleg—cu iesin
Ein cysur anwyldeg,
Rhag tân a dw'r ein tŵr têg
A'n tariandy tiriondeg.

Tra Haulwen uwch ben y byd—a lleuad
A'r holl luoedd tanllyd;
Saif yn dêg, ein Coleg c'yd
I roddi cyfarwyddyd.

## ENGLYNION BUDDUGOLIAETHAWL Y CADEIRIAU ESMWYTH,

**Yn Eisteddfod y Fenni, Hydref 15, 1845; sef y Pedwar Englyn ar Bedair Cadair Esmwyth yn Llys LLANOFOR.**

---

### Y GADAIR GYNTAF.

I TI gyfaill teulu Tŷ GOFOR—y SANT,
Wyf sedd yn Llan OFOR:
Boed da 'r byd, pob da 'n ddi dôr,
I ti gyfaill Tŷ GOFOR.

### YR AIL GADAIR.

MAE 'r Prif-Fardd, mwynfardd mau?—Cyfaill [y Tŷ?
Cyfaill twym, mawr ddoniau?
O fewn gwledd caiff brofi 'n glau
Môr wych bod rhwng fy mreichiau.

### Y DRYDEDD GADAIR.

Y FINNAU a ofynaf—i henwr:
Doed hwnw tuag ataf,
Mae'n gysglyd ; gwynfyd a gaf
Heno. Ef nis dihunaf.

### Y BEDWAREDD GADAIR.

MINNAU rhwng fy mreichiau mynaf—Ferch fwyn,
Y Ferch fo deilyngaf;
A hi 'n wir ddedwydd a wnaf
Min nos. Ac a'i monwesaf.

## YR ENGLYN BUDDUGOLIAETHAWL

Ar FFYNON OFOR, yn Eisteddfod y Fenni, 1845.

---

YF, ddyn! wyf o ddaioni—'r Goruchaf
Er gwir iechyd iti;
Bu GOFOR i'm clodfori
Yn fawr; a'i Ffynon wyf fi.

### ENGLYN ARALL I FFYNON OFOR.

HOFF iawn yw caffael Ffynon—o ddwfr glân,
O ddwfr gloyw yn gysson;
Hyfryd, màl hyn, o'r hoywfron
Y llif ffrwd GOFOR yn llon.

## ENGLYN Y BUELIN.

**Yr Englyn canlynawl a enillodd y CORN BUAL,[1] yn Eisteddfod Caerdydd, Awst 20, 1834: ac y mae yn argraffedig yn neuadd gweinidogion Llys Llanofor.**

---

GWASTRAFF, eisieu; DRWG YSTRYW,
Gwarth a ddwg;
Ac wrth ddwyn gwarth, dystryw;
Da i bawb CYNNILDEB yw,
A thad i gyfoeth ydyw.

## ENGLYN I FFYNON ABERPERGWM.

**Yr Englyn isod sydd wedi ei dori mewn darn o graig deg tunell o bwysau, uwch ben Ffynon yn ngardd y diweddar W. Williams, Ysw. Aberpergwm, Morganwg. Er coffâad am Arafia, lle y bu Mr. Williams, taflwyd cerig, o ddeng tunell, ac uchod, o amgylch ogylch y Ffynon, yn gyffelyb fàl y gwelir o amgylch y ffynonau yn anialwch tywodlyd Arafia.**

---

Ho! tro y sychedig truan—a llesg,
Dwfr yn lli sydd yman;
Dwfr croyw, o'r Ffŷnon loyw lân,
A ddeillia beunydd allan.

[1] Y Ffug enw oedd BUAL; a phan hysbyswyd mai BUAL oedd fuddugoliaethus ar 22ain o ymgeiswyr, yr Awdur yn nghanol y dyrfa a ddywedodd fal y canlyn.

Mae 'r fron hon yn llawenhâu,
"BUAL" y Corn a biau;
Dyger y Corn i DEGID
Ar ei gais: Hwra' i gyd!
Hynodawl o Gorn ydyw,
Mi cadwaf tra byddaf byw;
GWENHWYSEIDDIAN ddyddan ddoeth,
Mi a gefais im' gyfoeth;
Iechyd i'r ferch lanferch lon,
Ac eilwaith iechyd calon;
Iechyd hawddfyd, heb groes hin,
A choges dda i'w chegin.

## ARALL I FFYNON ABERPERGWM.

**Y canlynawl a enillodd y Tlws arian, a chydag ef Gwpan Arian yn Eisteddfod y Fenni, 1837.**

O DDAIONI Duw i ddynion—llawn wyf
Lloned sychedigion !
Hoff y rhed o hyd ffrwd hon,
Gwiw lifiant ! mam gloyw afon.

## CYFARCHIAD Y BEIRDD.

**Bu i'r Awdur pan yn teithio, flynyddoedd maith yn ol, heibio Rhyd Lewis, Ceredigion, gyfarfod âg un Mr. John Jones, o'r lle hwnw, yr hwn yn ddifyfyr a'i cyfarchodd â'r englyn canlynawl.**

GWELAIS bryd TEGYD da agwedd,—golwg
Wiwlon a siriolwedd ;
Prydyddwr canwr ceinwedd,
Llyma wr yn llon ei wedd.

### ATEB TEGID.

WYT ddyn doeth gwiwddoeth gwyddis,—da in'
Dy Awen uchelbris ;
Mae 'n hylym ei grym, pob gris :
Rho dy law, Fardd Rhyd Lewis.

## ENGLYN I JOHN HUGHES, YSW.

**Englyn a ddanfonwyd mewn llythyr i John Hughes, Ysw. o'r Allt-lwyd, ger Llanrhystyd, i'w rybyddiaw y byddai y Bardd a chyfaill yn galw heibio iddo.**

BYDD bwyd yn Allt-lwyd i'n ill dau,—yn rhad ;
Llanrhystyd welyau :
A chân y gloch, ceirch yn glau,
Ffiolaid i'n ceffylau.

## MENYW A LADDODD EI MABAN.

Cyrchu a wnaed i'r carchar,—y fenyw
Anfwyn ac annhrugar:
Yn lladd ei phlentyn gwŷn gwâr
O'i golwg heb ddim galar.

## TELYN ANN,[1]

Sef Miss Ann Edwards, merch Caerfallwch.

Y delyn aur rhwng dwylaw—Ann Jesse,
Pob nos a rydd âlaw;
Gan Dduw lwyd y lluniwyd llaw
Y Seren i'n cysuraw.

Y delyn euraidd a wylodd,—ar ei hol,
I'r helyg y ciliodd;
Am farw Ann ymferwinodd
Ei sain hoff, a'i swn a ffodd.

## ENGLYN BUDDUGOLIAETH

Ar ddiwedd dadl rhwng y Bardd a'i gyfaill.

Boed hedd ar ddiwedd y ddadl,—yn y fan
Terfynaf y gynnadl;
O'th ochr di 'r aeth hi 'n hadl,
Wr enwawg, cymmer anadl.

[1] Bu farw y ferch foneddig uchod yn y flwyddyn 1845, a'i thad wrth hysbysu y newydd galarus i'r Awdur, a ddywed fàl hyn:—"*Mae ei Thelyn vwyn ar yr helyg yn vud.*" Hyn fu achos cyfansoddiad yr ail Englyn.

ROBERT DAVIES, *(Bardd Nantglyn.)*

Ymhlith cant glew ein Bardd Nantglyn,—ei ail
Ni welwyd am Englyn;
Curai Feirdd, henfeirdd yn hyn,
Mewn adeg un mynydyn.

GWAWR FOREU UWCH GWELY CYFAILL.

'Y Cysgadur cais godi'—o'th wely;
I'th aelwyd gwna godi;
Gwel mai hardd ar fardd fal fi,
Yw gyda'r wawr i godi.

BEDD DAFYDD IONAWR.

Gwel fedd, gwilia ei faeddu;—bedd oer Bardd,
Bedd i'r byw i'w barchu;
Nos a dydd beunydd tra bu,
Gwiwnod Gywydd gwnai ganu.

CYMRO MEWN GWLAD ESTRONAWL YN GWELED GAFR.

I Gymro o'i fro daw i'w fryd—a'i gof,
Wrth weled Gafr wenbryd,
Gymru hen; a gwên i gyd,
A thyfa hiraeth hefyd.

## I FEDDWYN.

O ———! mae yn syndod—dy weled
Yn dilyn y ddiod;
Yn dy gwrw ddoe, a'th feddwdod;
Dy olwg oedd un gŵg ŏd.

## Y TREWLWCH.[1]

IACHAAD i'r llygad yw'r llwch;—gyr o ben
Garw boen a dyryswch;
Try alar, mawl i'r TREWLWCH
Yn fflam o lawenydd fflwch.

## I MR. D. R. REES, LLANYMDDYFRI,

**Pan dderbyniodd flwch arian, yn anrheg gan wyr y dref hono.**

BLWCH arian llwysaidd hardd tanlli,—a drud
Gan dref LLANYMDDYFRI,
Anrheg teg a roed i ti,
RHYS! atat; hiroes iti.

## ENGLYN ANNERCH
## Y PARCH. J. WILLIAMS AB ITHEL, M.A.

**Ar yr achlysur o'i briodi.**

LLWYDDIANT it', a phlant hoff lu;—a Phlwy',
A phlas i gartrefu; [Syr!
Ac i'th fynwes gynhes gu,
Iechyd i lawenychu.

[1] Trewlwch *vulgo* Trwynlwch, Snuff.

## ENGLYN I FAB YR UN GWR PARCHEDIG,

**Pan ysgrifenodd ei dad i ddywedyd fod y bachgen yn ddwy flwydd oed.**

I'R mab dwyflwydd bid llwyddiant,—doniau
A Duw'n amddiffyniant; [mawr;
Ernes caed yn NGLAN HIRNANT[1]
Dan sêl Duw, ei fod yn Sant.

## CRIB PAIS CYMRU.

DRAIG GOCH fawr ruddgoch ymroddgall,—
Nid Gafr, frefiad diball, [ryfalch,
Yw arwydd cu GYMRU; gwall
Rhoddi oer arwydd arall.

## TEITHI GAFR.

PAU'r Afr yw'r creigiau'r, lleoedd cras—a gwyllt,
Neu wrth gŵr coed briglas;
Ni cherdd, mae 'n falch o'i hurddas,
Ac ni bydd mewn bröydd bras.

## I ENLLIBWR.

**Un tro pan oedd y Bardd ar ben Cerbyd yn myned o Gaerfyrddin i Rydychain, daeth i fyny i'w ymyl ddyn o'r enw Morgan, yr hyn beth a ddygwyddodd rhwng Llandeilofawr a Llangadoc. Ar ol eistedd o Forgan i lawr, 'Tegid,' ebai'r Gyriedydd, 'Dyna'r enllibiwr penaf yn ein gwlad. Da chwi canwch air iddo; canys dywedodd gelwydd ofnadwy am ferch ieuanc rinweddawl o'r gymmydogaeth hon.' Ac yn y fan cyfansoddwyd yr Englyn canlynawl. Ar ol clywed o Forgan yr Englyn, neidiodd i lawr yn fyrbwyll o ben y cerbyd a phawb yn bresenawl yn chwerthin eu goreu.**

MORGAN du aflan Dieflig,—y lleban
Enllibiwr cythreulig;
Nid oes a'th fawl, y diawl dig,
Celwyddwr cywilyddig.

[1] Enw y tŷ lle yr oedd AB ITHEL yn byw.

## ATEBIAD I WAHODDIAD YR HYBARCH J. JONES, B.D. ARCHDDEON MON,

Yn gofyn i'w hen gyfaill y Bardd ddyfod i ymweled âg ef ar ol blyneddoedd o ymddyeithrwch.

Yr Archddëon Mon a minnau—'n mawr swn
Yn son am hen bethau;
A byddem wrth ein boddau
Wrth y tàn, yn ddyddan ddau.

## I GAERFALLWCH.

"The Welsh language will soon sink into oblivion." CAERFALLWCH.

Gwr cibddall yw CAERFALLWCH,—ac oriawg,
Ei eiriau na chredwch;
I ffwrdd nid aiff o'i harddwch
Ein iaith fawr i'r llawr na'r llwch.

## BUWCH ARIAN.

D. Davies, Ysw., Castell Aberteifi.

O CHERI y fuwch arian,—ymofyn
Am hufen i'th gwpan;
A chan y fuwch wèn fechan,
Cei hwnw 'n hufen gloyw glân.

## TEITHI Y GAREG GALLESTR.

CEIR tân o Gallestr a llestri, a gwydr,
Teg adrawdd ei theithi;
A gwir hyn os llosgir hi
Yn galch, ceir[1] Sebon golchi.

[1] Silica soap.

## HENAINT.

"Henaint ni ddaw ei hunan." DIAR.

"Henaint ni ddaw ei hunan":—henair yw
Yn wir oll yn mhobman;
Edrych ar ddyn mewn oedran,
Llun ei wedd, mae oll yn wàn.

## DYNION MEDDWON.

Nid dynion meddwon i mi:—dynion na
Adwaenant ddaioni;
Yn ddibaid "Llymaid o'r lli"
Yw eu gwaedd, ac eu gweddi.

## ADFERIAD Y DELYN.

Diliau mêl ddaw o'r Delyn—dyferawl
Er difyru cannyn;
Unwaith eto mae 'n ennyn
Serchiadau a doniau dyn.

## ENGLYN I'W OSAWD AR FAINC GAREG O DAN DDERWEN.

Cadair, dan frigawg Goeden, o faen nadd
I foneddu Derwen;
Mainc hardd i'r ieuanc a'r hen,
A lle i fod yn llawen.

## I DRWYNLWCH LLANERCHYMEDD.

GWIR yw, os trwynlwch a gaf,
Y melyn a ganmolaf;
Molwch y trwynlwch melyn,
O! drwynlwch, dedwyddwch dyn.

## ENGLYN Y CYMMOD.[1]

AR ol ymladd lladd a llid,—a phob croes,
Rhyw oerloes; hir erlid;
Tagu, llindagu TEGID;
Er da! dattoder y did.

[1] Anfonid yr Englyn uchod, mewn llythyr, at DANIEL DDU, i ddeisyfu arno adnewyddu ei hen gyfeillach yr hon a aflonyddasid wrth ei waith yn ochri ac ysgrifenu o blaid y Parchedig BRUCE KNIGHT, ag oedd y pryd hwnw yn cynnal dadl yn erbyn yr Awdur ynghylch llythyraeth yr Iaith Gymraeg. Bu yr Englyn yn achlysur o gyfansoddiad Cywyddau y Cymmod.

# CYWYDDAU.

## CYWYDDAU Y CYMMOD.

Rhyw ingus ddadl fu rhyngom,
A ffrwd lleferydd rhy ffrom;
Llefwaith yng nghylch sillafu
Yn iawn, ein hiaith geinlawn gu :
Os anwyl a glwys inni
Ein mwyn iaith, a'i haraith hi;
Na fydded hynny 'n foddion
I faeddu, na llaesu llon
Gyfeillach fwyniach a fu
Rhyngom yn hir ehangu.
  Boreu 'n hoes fu 'n burion hedd ;
Dïau nyni ein deuwedd
Gwelwyd yn llonni 'n gilydd
Dan fad wên yr Awen rydd,
Ym mhell o wlad ein tadau,
Yn Rhydychen, burwen bau:
O fewn y beraidd fwynardd,
Du fodd, ni chaid ond *dau* fardd ;
Dim ond dau goreu 'n cael gwên
Y rywiog lwysber Awen :

Ni adwaenai o'r dynion
*Un* ond *ni*, y lili lon,
TEGID diflin a minnau
Dan y gwŷdd cerdd fad yn gwau.
Dau oeddym o dueddiad
Eirian glwys i garu 'n gwlad;
A siarad am gysurol
Hen GYMRU lân, ddiddan ddôl,
A gynnwysai 'n gain iesin,
Oll i'n oedd ail llonaid win.
Hyn cofiwn; rhoddwn yn rhydd
O galon law i'n gilydd.

DANIEL DDU.

Ar ol hyn derbyniodd y BARDD DU y canlynawl:—

---

DY gywydd, gwaith celfydd coeth,
Cefais; nid rhaid gwell cyfoeth;
Cywydd o dda ddefnydd yw,
A chadarn iaith serch ydyw;
Cywydd newydd, iawn wëad,
O ddawn glos pen bardd ein gwlad;
Da genyf dy deg annerch,
A thrwy oes y'th eiriau serch;
Dy law yn fy llaw yn llon,
(Gwel, DANIAL, friwiau 'r galon)
Derbyniaf; gwelaf ŵr gwych!
Dy ddagrau; dy wedd ogrych;
Bellach; ïa, bellach byth,
Er gwae a fu 'n dragyfyth,

Calon wrth galon gwelir;
A chwai hwynt a iachêir.
  Ar ol nos rhy wela 'n awr
Oleu eurwedd, dysglaerwawr;
Buom â chalon drom, dro,
Drwy gamrwysg hydr Gymro;
Gwae o'r dydd caed geiriau du,
Neu anfwyn ysgrifenu;
Bellach canu 'n iach gwnawn ni,
Drwy genad i'r drygioni;
A'i adael i gael amgeledd
Bruce Knight, gwr barus o Nedd.

## CYWYDD I "GYWYDDAU Y CYMMOD."

---

Ni wedd i Awenyddion
Ymgecru, sathru, a son
Y naill am y llall mewn llid,
"Rhyw oerloes a hir erlid;"
Geiriau mwynder, grym undeb,
Beirdd ein gwlad anad neb
A ddylent gwir ddilyn,—
Heddwch yw dedwyddwch dyn,
Brawdgarwch sy brid goron,
I bawb baich yw byw heb hon:
Draig annwn, llawn drygioni,
Ydyw cnul ei helbul hi;
Nwyd anwar, llawn dewiniaeth
Uffern, yw hen gynhen gaeth:

Dinystr a gais ei dannedd,
A maith glwyf yw moethau 'i gwledd;
Afradu pob hyfrydwaith
Ydyw swm ei dewis waith:
Gocheled rhag ei choledd,
A'i dwyn, y b'om hyd ein bedd.
Er digio 'n frau o Degid,
Rhoi lle i chwerwder a llid,
Ni fynai (rhyglyddai glod)
Ymgomio ond am gymmod;
Gan estyn llaw, feinlaw fwyn,
I'w hen gyfaill yn gufwyn.
A Daniel, yn dawel deg,
Cofleidiai 'r cyfle hoëwdeg,
I dda iach ymheddychu
A hen gâr, oedd byth yn gu;
Yn llon fwyn, mewn llawen fodd,
Hapus, llaw Tegid cipiodd;
Yna 'n hoenus, foddus, fad,
Gwiriai 'r naill i'r llall gariad.
"Y did dattodwyd er da,"
Hyfrydfwyn a fu 'r oedfa:
Hen gyfeillach rwyddiach, rydd
Galwent i gof eu gilydd;
Iawn deimlent ryw hen dwymlon
Wyth serch yn cynneu, wrth son
Am yr amser pêr fu, pan
Ydd oeddynt yn mro ddyddan
Rhydychen, tan gangen gwŷdd,
Yn gwiwlwys fwynhau 'u gilydd,

A gwiwnaws hyfryd gwenau
Awen bêr yr hen lon bau.

Heb ail gweryl, blaguro
Mwyach eu cyfeillach fo.

Ioan Cunllo.

## CYWYDD O DDIOLCH I IOAN CUNLLO.

---

Hedd i Ioan wiw ddeall,
Hedd i Gunllo, Cymro call,
Gwn Bardd yw, ceis gân o'i ben,
A chywydd;—parch i'r Awen.
Unrhyw ŵg, neu un drwg dro,
Nac enllib ni char Cunllo;
Ei hoffedd ef hedd o hyd,
Hoewfron, a brodyr hyfryd;
Undeb rhwng beirdd awenbur,
A gwir serch nid geiriau sur.
Hylwydd im' a Daniel Ddu,
Iaith gynhes, y gwnaeth ganu,
Ha, wr glew! eiriau o glod;
Ac am Gywyddau 'r Cymmod.
Diolch i Ioan Tad Awen,
Ys bardd yw,—Bardd da dros ben;
Ei Gywydd yn deg a wëai,.
Heb na bwlch, mewn ban, na bai.
Bid ffyniant i'w feddiant fo,
A llwyddiant gwell-well iddo.

## MORWYNION GLAN MEIRIONYDD.

**Y Cywydd hwn a ennillodd yr Ariandlws yn Eisteddfod y Bala, Awst 11, 1836.**

***"But what Bala is most famous for is the beauty of its women, and indeed I saw there one of the prettiest girls I ever beheld."—Lord Lyttleton in his letter to Archibald Bower. Yorke's Royal Tribes, p. 23.***

Morwynion glân Meirionydd!
Eich mawl yn anfarwawl fydd;
Anfarwawl tra mawl yn Mon,
A Morus[1] yn caru Meirion.
Eich clod a fydd beunydd byw,
Mawredig gem aur ydyw.

Llon ynt oll, a hoen ynt hwy,
Pob un fun sydd Fyfanwy.[2]
Uchelfryd, llawnserch, haelfron,
Gwên ddibaid a llygaid llon;
Ond gŵyl er hyn ydyw gwedd
Eu llygaid a'u holl agwedd.
O! cymmaint eu braint a'u bri,
Miloedd yn eu canmoli.

Na henwer, mae o honynt
Fun goeg, ail Myfanwy gynt,

[1] Lewis Morus, neu Llywelyn Ddu o Fon, yr hwn oedd hynafiaethydd a bardd. Efe yw awdur y gân a elwir, "Caniad y Gog i Feirionydd;" yn yr hon gân y cair y geiriau hyn, "Morwynion glân Meirionydd," sef testun y Cywydd presenawl.

[2] Myfanwy oedd rian hardd, a theg o bryd, yn byw yn y 14eg ganrif. Ei chartref oedd Castell Dinas Bran, ac yn y *Myfyrian Archaiology* y cair yr Awdl a gyfansoddwyd iddi gan Hywel ab Einion Llygliw. Yr oedd Hywel yn ei charu ac yn ei pharchu yn fawr, ac yn ceisiaw ei hennill yn wraig iddo; ond er ei gariad ati, ac er awenyddu iddi, nid allai lwyddaw gyda Myfanwy.

Na châr, mae 'n fyddar i fardd,
Yn anfwyn wrth Awenfardd.
Yn more f' oes yn Meirion,
A phen hurt yr hoffwn hon;
A phan hŷn hoffwn o'i hol
Rhöad ei throed ar heol.
Er ei mwyn os anfwyn fydd,
Mòr anwyl im' Meirionydd.

Morwynion glân Meirionydd!
Eich mawl yn anfarwawl fydd.
Cafwyd gwiwfeirdd i 'ch cyfarch,
Goreu beirdd, a gwyr o barch;
A beirdd gwiwfeirdd a gyfyd
I 'ch cyfarch, trwy barch, tra byd,
Yn eich heniaith berffaith bur,
Hoffusaidd heb gloff fesur.
O enau bardd hardd yw hon,
Dynodir, llawn deniadon;
Ond melusach hoffach hi,
Y brifiaith, ond gwiw brofi
Mòr drefnus, mòr felus fwyn,
Y mera o fin morwyn.

Morwynion glân Meirionydd!
Eich mawl yn anfarwawl fydd.
Yn hardd llawer bardd â'i bill
A'ch annerch er eich ennill;

A minnau hyn ddymunaf
Tros fy ngwlad, o cenad caf,
Gael genych chwi hoffi 'ch hiaith,
Un hynod yw ein heniaith;
A heniaith yw 'n iaith yn wir
Pur hefyd os ei profir;
Trwyadl, hardd ei chystrawen,
A gwir hardd ei geiriau hen.
Iaith deg,—iaith y duwiau gynt,
Dwned Homer am danynt;
Iaith enaid y Celtiaid coeth
Dynion nad oeddynt annoeth;
Iaith Derwyddon, dyfnion dysg,
Aur heddyw mêr eu haddysg;
Iaith Brenhinoedd, llysoedd llawn,
Iaith hen gyfreithiau uniawn;
Iaith y Beirdd doeth eu hurddas
Drwy y byd iaith uchel dras,
Eich iaith, O! mynweswch hi!
A bydded rhwydd-deb iddi.
A'i marw a gaiff yn Meirion?
Marw? O, na! na marw yn Mon.

Daiar yn uchel gwelir
Yn lle Nef, mae 'n llawn o wir;
Unfodd y try 'r Nef wenfawr
O'i lle i le daiar lawr;
Cyn marw o'r iaith heniaith hon,
Bleth dinam, o blith dynion.

## AR FARWOLAETH Y DYWYSOGES SIARLOT,

**Merch Tywysawg Cymru, yr hon a fu farw ar enedigaeth dyn bach.**

---

Pallida mors æquo pulsat pede tabernas
Regumque turres.—Hor.

---

Du oernad sy drwy 'r deyrnas
O farw ei grym, fawr ei gras,
Sef Siarlod wâr, liwgar lân,
A'i baich y maban bychan;
Wb! galar sy 'n mhob golwg
I'w ganfod gan drallod drwg,
Ochain a gwaedd o'r achos
I'n llethu a'n nychu 'r nos;
Tristwch yw Brydain trosti,
O f' un deg! o'th fyned di.

Y Gwr oedd ddoe â'i gariad
Yn ei gynhes fynwes fad,
Heddyw sy brudd ei ruddiau
A llwyd oll wedi colli dau.
Llwyr ing i ni, 'r ddau lliw 'r ôd
'Hedasant o'r byd isod
Draw i'r nefoedd lleoedd llon
Hoen euraidd Delynorion.

Pob drylliau, pob clychau clod
Bore a hwyr oedd barod
I roi bloedd a chyhoeddi
Llawenydd newydd i ni;

A'r awr a ddaeth ; Odiaethawl ;
Mae cynneu mellt? Mae canu mawl!
Ust! mae y byd yn ddystaw
Heb sain, mae ar Frydain fraw ;
Marw a glywir yn Meirion
Yw y newydd sydd, arw sôn,
Mae beunydd drist newyddion
Os marw Siarlod hynod hon.

Och! newydd garw, Och! marw mam
A dwyn ymaith ei dinam ;
Och! i ni, am lili lon,
A gwr i ddod i'r goron.

Urdduniant goreu ddynion
A pharch hyd ei harch ga'dd hon ;
Un oedd o wiw rinweddau,
Màl ei hoed a f'ai 'n amlhau ;
Mwynaidd, arafaidd erioed
Wrth bawb oedd hi, wrth bob oed.
Och! angau â'i gleddau glas,
Dyrnod a roes i'r deyrnas,
Wrth dori Gwen, gangen gu,
Yn y bôn i'n dibenu ;
Cyn i aeron ei lloni
Ebrwydd daeth ei haflwydd hi,
Gwedi ffrwytho, llwytho 'n llawn,
Gwen anwyl! gwywai 'n uniawn.
O angau! dïau mai dim
Yw 'n dyddiau, ïe, diddim ;

Y foru ni a fwrir
I'r llwch, a'n tegwch o'r tir;
O chefaist Gwen â'i chyfoeth,
Balas nerth! i'th balas noeth;
Arian neu aur ni weryd
B'lasau mwy no bythau byd.

## I DAFYDD LEWIS, YSW., O GILCENEN, SWYDD GEREDIGION,

**Yn awr (1884) yn Llundain, pan y derbyniodd ei raddiad o M.D.**

---

Doctor, dod gynghor i'r gwan,
Yn y bore heb arian;
Y prydnawn para di nhwy,
Yn ebrwydd ddod a gobrwy;
Mae hyn yn deg, mŷn iawn dâl,
Ni foddia bod rhy feddal;
Gwilia, na chwaith rhy galed,
Iawnder yw cryfder cred;
Gwilia ar dy galon,
Wyt hael, na boed galed hon.
  Os mawrion ddynion a ddaw
Yn gysson yn dy geisiaw,
Aur o'u llaw myna, wr llon,
Y *gini*,—nid arian gwynion;
Y *gini* â theg wyneb
Hwn i ti ni omedd neb.
  A chai glod o iachêi glaf,
Dy enw minnau a daenaf;

O byddaf glaf, wr o glod,
Yma heddyw gwnaf ammod;
Gwir yw at feddyg yr af,
I feddyg bardd a fyddaf.

## GALAR Y BARDD.

Wylaf dro; tawaf wedi.—Llywarch Hen.

---

Hiraeth y sydd i'm haros
Beunydd; och! yn nydd a nos;
Llym iawn fàl blaen picell yw,
Hawdd gweyd, yr hiraeth heddyw.
Blinir fi yn hir gan hwn,
Miniawg yw; ef nis mŷnwn.
Hiraeth am dad, ni 'm heiriach,
Ac am fam oedd fwynfam fach;
Ac am Gwen, fy chwaer wèn oedd,
Mawr y tro marw y trioedd!
Amddifad o dad ydwyf,
O Dduw! ac heb fam ydd wyf.
Ni welaf yr hen aelwyd
Yn llon mwy, ond llwm a llwyd.
Delwodd cyfeillion dilyth,—
Yn iach, Bala! bellach byth;
A Llyn Tegid, hyd a lled,
Eleni er ei laned.
Yn iach Meirion diriondeg
A roai i'm bur Gymraëg;
Yn iach fryniau, 'n iach fronydd;
Hyd f 'oes mwy ym gofid fydd

Gorfod troi, nid o'm gwirfodd,
O'm hen fàn oedd wrth fy modd.'

Wylwyd o'u rhoi ar alawr,
Un fodd, yn Nghaerfyrddin fawr;
Elen fy chwaer yn wylaw
Yn drwm, a'm brawd Dafydd draw.
Nid oes neb a gollodd dad,
Neu fam gywir, gwir gariad;
Neu chwaer ŵyl, anwyl eneth,
Yn y byd na wylai beth.

Heddwch i'w llwch lle llechant,
Ac angelion gwynion gànt
Gwylient ef yno hefyd
Yn y bedd, tàn ddiwedd byd;
A'u du fedd gwarchadwent fil
Acw yn monwent Llanycil;
A'u cyrff hwy dygent lle cânt
Fyd gwell pan adgyfodant.

I bawb a barcho eu bedd
Deued da yn y diwedd;
A barcho eu bedd a berchir,
Cyn marw ceiff hwnw oes hir.
Sawl a blano arno îr—
Lysiau, ef a hwylusir
Yn ei amcan; buan bydd
Ei glod ef drwy y gwledydd;

A phan fo marw hwnw 'n hen,'
A'i roi yn y ddaiaren;
Ei fedd ef un fodd a fo
A gwyrdd ddail teg i'w urddo.

## BRWYDR WATERLW.

Am ddynion dewrion fel dur
A nerthol fel hen Arthur,
A chreulawn yn llawn eu llid,
Yn llefain am hyll ofid
I'w gilydd, drwy frwydr galed,
Drwy ymladd gan ladd ar lêd;
Cân yn hylaw fy Awen
Eres bur, gerdd dda dros ben.

A'r nos yn gorchuddiaw 'r nen,
Ddu oriau! a'r ddaiaren,
Llifai fel erchyll afon,
O lid haer dros y wlad hon.
Dros waenydd, dolydd dulas,
Dros foelydd, a bronydd brâs;
Gwyr gelynol fradol fron,
O luoedd Napoleon!
I ddifa 'n ei gyrfa gâs
Olynol gwnaent alanas.

A hwy yn dylifaw o hyd
I'r unlle, wedd ddychrynllyd!

NAPOLEON, ëon wr,
Y dawnus anudonwr,
A roddai awr gydâ 'r wawr wan,
"Deuwch oll neidiwch allan
Fy ngoruchel ryfelwyr,
Can 's gwelaf—gwelaf y gwyr."

Ar ei air, wele 'r oror
Fel terfysgawg ferwawg fôr
Yn fyw, nes ydyw f' AWEN
O'i phwyll ar guddio ei phen.
Yna 'r bryniau a'r bronydd,
Gydâ 'r dyffryn yn synu sydd;
Gan uchel swn magnelau,
Yn canlyn y gelyn gau.
Trichant o'u boliau trachwyrn
A fwrient, a chwalent chwyrn
Gawodau o belau byw
Astrus,—ofnadwy ddystryw!
Y mellt oedd yn ymwylltiaw
O'u ffroenau yn droiau draw,
A th'ranau o'u safnau serth
A ynfyd ruai 'n anferth.

Ac yn ol y magnelau,
Rhuthrai dynion [1] gwylltion gau;
I aethus ddechreu weithion
Y frwydr ffyrnig hyllig hon.

[1] Gwyr rhych-ddrylliau Ffrainc.

Meirch[1] angeuol o'u hol hwy
A neidient yn ofnadwy,
Ar wŷr Albion, lymion lu,
I'w gwyneb iddeu gwânu;
Yn feirch na tharf er arfau,
Er gwn cryf, er cleddyf clau,
Ond llon, flinion, aflonydd,
Beilchion, bensythion hwy sydd,
A thanllyd, gwaedlyd, llawn gwŷn,
O awydd yn bwrw ewyn;
A'u dull yn myned allan
I'w weled oedd ail i dân
Yn difa gwellt, neu elltydd
Yn ddi-oed o goed a gwŷdd.
Daiar gron dir a grynai
O dan y cedyrn chwyrn chwai,
Wrth aruthr a brwd ruthraw
Yn drwm, ar eu penau draw.
Er rhuthro, gwthio 'u gwaetha'
Yn erbyn y mur dur da;
Ni ddrylliai, ni siglai sail
Y gauedig gu adail.

Ddu gawdd! am na thyciodd gwr,
Ymwridiai 'u Hamerawdwr:
Yna o'i ddrwg anian,
Gan fod ei dafod ar dân,

[1] Gwyr meirch Ffrainc.

A'i ddwylaw am danaw 'n dŷn,
A'i olwg ar ei elyn;
Lid aphwys! feddwl diffaith!
Heb deimlad na chariad chwaith;
"Gwn air," eb ef, "mai gwan y'nt
Aed eto hwy hyd atynt."
A rhai a floeddiai yn rhydd,
"Llawen a Byw fo 'n Llywydd"
A'u llef hyd y nef yn llwyr.
A ruai drwy yr awyr;
Ac ai arfog farchogion
Ar frys oddi ger ei fron;
Ail mellten, neu fflam wylltaf,
Neu gysgod lân huan haf;
I ganol andwyol dân,
I lidiog laddfa lydan,
I ddiluw o ddialedd,
I ofid tost o fyd hedd.

Ni feiddiai o'r ddwy fyddin,
Er cenllysg trwm o blwm blin;
Er ing dwys, er angeu du,
Gymhell troed i ddadgamu;
A Mawrth[1] fu ddystaw a mud
Er eu mwyn lawer munud
O naddunt neb ni wyddiad
Bwy yw 'r gwr a bia 'r gâd;

[1] Duw y rhyfel.

A'r FFRANCOD y diwrnod du
Yn wyrthiol iawn ymnerthu,
A gwisg bres yn gwasgu 'u bron,
I gelu a chadw 'r galon;
Dair gwaith draw y gwthient,
Ond y tair gwaith ymaith ent,
Fel hyn tŷn, sŷn, llŷn fu 'r lladd,[1]
Amlwg fod angeu 'n ymladd;
Y cleddyf oedd yn claddu
Yn eigion y galon gu;
A môr o waed y meirw oedd
Yn berwi, 'n llenwi 'n llynoedd.

Nid ellir gosod allan
A mil o dafodau mân
Yr wylaw dwys a'r alaeth,
A'r lladd och! i'r lle a ddaeth;
A'r ddaiar roddai larwm,
Gan ruddfan yn druan drwm.

Eb WELINGTON, "ALBION wyr,
A giliwn rhag bygylwyr?
Os y tir rhoddir i rhai 'n
Frodyr, pa glod o Frydain?"
A chryfder i'r niferoedd
Mewn effaith ei araeth oedd.

[1] Darluniad yw y llinell uchod o swn arfau ein gwyr ni yn ymgymmysgu â'r rhai hyny o'r gelynion ag oedd â gwisg bres yn eu cylch; "a thebyg," fel y dywedodd un o'u milwyr, "*oedd y swn i drwst mil o Eurychod yn curaw ar yr un pryd beiriau a chrochanau.*'

Er i flinder trymder trwch
Eu bwrw o'u pybyrwch
Eu nerth a ddychwelai 'n ôl
Ar eiriau ARTHUR wrol.
I'w plaid do 'i llu [1] tanbaid têg
Anhudol, dan ehedeg;
A'u gelyn na wnai giliaw
Sy 'n ffoi yma a thraw
Yn gynddeiriawg ofnawg oll,
Yn orchwyrn dan ei archoll
Heb fan na Llan ar un llaw
A faidd roi noddfa iddaw.

Och! derfysg! derfysg dirfawr
Rhwng byddinoedd lluoedd llawr!
A dynion o ddyfnion ddysg,
Yn darfod gan wir derfysg.
Rhai yn isel heb amgeledd,
Yn ddibarch, heb arch na bedd;
Rhai eraill yn rhŷ oerion
Gan glwyfau, briwiau o'r bron,
Yn methu 'n lân ymwthiaw
O un lle, na throed na llaw,
Ond cwynfan, gruddfan yn groch,
Nes treiddiai eu llais trwyddoch.

O feirwon! ni chaf eiriau
I iawn drafod eich clod clau;

[1] Y Prwssiaid.

Ai fy Awen yn ddi-fywyd
Cyn datgan y gân i gyd.
Yn eich mysg, yna iach mwy
Lu odiaeth canmoladwy;
Picton fywiawg enwawg wr;
A folaf ddewr ryfelwr;
A hoff iawn i ni goffâu
Un a ddiengodd angau,
Y celfydd Ardalydd da
Hynaws, mwyn Ynys Mona.

I ni mawr ddaioni ddaeth,
O gael y fuddugoliaeth;
Heddwch yn lle tristwch trwm,
A gwarthrudd llwythog orthrwm,
Pan y rhoes Ewropa 'n rhydd
O'i gwaeau yn dragywydd.
Canaf gainc, er i Ffrainc ffrom,
Beri orn a braw arnom;
Ein Brydain wèn yn ben bydd,
Oreu gwlad ar y gwledydd.
Eleni mae 'n gelynion
Mewn trallod, syndod yw sôn!
Tra eu harfau 'n gwau 'n y gwynt,
Dynion a syrthiai danynt;
Oer iâs a'i drwy d'yrnasoedd
O'u blaen, gan uwchder eu bloedd.
Ond amgylch ogylch eigion
Y Fel Ynys hysbys hon,

Bu mur o dân seirianwedd
Difylchau, rhag clwyfau cledd,
A Duw yn ei gariad oedd
Yn llywio gyrfa 'n lluoedd;
A bid eto 'n dirion dŵr
Ein ffon a'n hamddiffynwr,
Ac mewn hedd, hyd ddiwedd oes,
Yn darian i'n gwlad eirioes.

## CYWYDD Y DIFFYN.

Anghlod ni chaiff Carn Ingli,
Na chaiff genyf fi na chwi;
Na thrydydd, pe 'n athrodwr,
Na chan neb â gwyneb gwr.
Haedd, hoff wr! glodydd a pharch,
Mawl gwiwfeirdd mil i'w gyfarch;
Haedd yn ddifrif glod Prif-fardd,
Clod pob Cymro a fo 'n fardd.
Adwaen ef, bardd da ydyw,
Gwyr ei iaith, Cymreigiwr yw,
Ef noddaf, tra gallaf gael
Fy nghyfaill yn fy ngafael.

# HU GADARN.

---

### Y DEFNYDD.

**Dangaws rhagoriaethau Hu Gadarn—enwau y gwledydd neu y manau trwy ba rai y teithiasant y Cymry o Dephrobani i Ynys Prydain—darluniad o'u teithiau, eu lluniaeth ar y ffordd, eu chwareuyddiaethau a. r. c. nes cyrhaedd y Môr Tawch—araeth Hu cyn croesi y môr—yn mynegi y modd buwyd iddo glywed gyntaf am yr Ynys, ynghyd ag ei fwriad i fyned iddi—parodrwydd y lluoedd i ddilyn ei gynghor—darluniad o'r bore y dringasant idd y llongau i ddyfod trosodd—eu dyfodiad i olwg Prydain—llawenydd Hu wrth ganfod yr Ynys—ei ganmawl gan ei ganlynwyr—eu glaniad—Hu yn dysgu iddynt amaethwriaeth—dala afancod—Hu y cyntaf gŵr a ddeisyfiawdd ffordd idd eu dal—rhanu yr Ynys—Awen Hu.**

---

* * * * litusque rogamus
Innocuum, et cunctis undamque auramque petentem.
VIRGIL.

---

Hu Gadarn hoywa' geidwad,[1]
Gwiw lyw, glew, bugail gwlad;
O! gymmaint ei fraint a'i fri,
Llawn dawn a llawn daioni;
Llawn dawn màl uniawn ynad,
Llawn rhadau teimladau tad;
Llawn gwybodaeth odiaethawl,
Deall ga 'i dywyll a gwawl;
Galwai wrth enw ddirgelion
Pob peth, hyd grêth[2] daiar gron.
Carwr a rhoddwr heddwch
A hoff lais cyfiawnder fflwch

[1] Trioedd liv. Gwel, *Cambrian Register*, t. d. 163.
[2] Crêth=the principal cause,
"Dyweda di pa grêth oedd i lymân
Anwydau ein prif riaint."
Coll Gwynfa, t. d. 2.

Oedd ;—rhag rhyfeloedd[1] ar hynt,
Moriai â hwyl i'r mawrwynt.
Na chymmysg terfysg torfoedd,
Gwell y môr â'i derfysg oedd ;
Hoffach, melusach no mel
Rhwyfaw o gyrhaedd rhyfel,
Gan ffoi—troi, rhag briw traha,
I wlad draw fa 'i ddystaw dda.

Pen cenedl i'r genedl gynt
Difai oedd,—da fu iddynt ;
Arweiniai hwy trwy rinwedd,
I fyd o hawddfyd a hedd,
O lid a rhoch "Gwlad yr haf"
I dda Ynys[2] ddianaf,
Ac i gainc[3] o Ffrainc yn ffraw,
I roi sail i breswyliaw.

Pa dafod ffraeth all draethu,
Fyth y blinderau a fu,
I'n tadau,—gwaeau ag oedd
Neu antur eu helyntoedd?
Pwy yn ôl rêd i'w holrhain
Trwy India ac Asia gain,
Ac hefyd glan afon Danaw
Hen, Rhin enwawg droiawg draw,

[1] Gwel Trioedd v. *Cambrian Register*, t. d. 162.
[2] Prydain, Trioedd iv. *Cambrian Register*, t. d. 162.
[3] Armorica. Trioedd iv.

Hyd wen gain FRYDAIN, dda fri,
O boenus DDEPHROBANI?
Trwy ddiffaeth eu taith hyd dir—
O anialdaith canoldir!
Creigiau a mynyddau maith
Llugiant hollalluogwaith;
Nadredd rhyfedd yn rhwyfaw,
Plethu neu lechu wrth law;
A gwylltion filod gelltydd
Yn eu rhwysg yn chwyrn a rhydd.
Dirfawr bob awr yn ddibaid
Hwy d'ranent am drueiniaid,
Yn barod i ddod ar ddyn,
I'w falu màl prif elyn.
Llawer noson â bron brudd,
A'r dŵr oer ar eu deurudd,
O wir frwyn, tan lwyn o'r fro,
Canwaith bu 'n tadau 'n cwyno;
Wrth weled fod caledi
O fewn eu rhan fwy na rhî.'
Ond weithiau yn niwedd dwthwn,
I droi 'n felus boenus bwn,
Un yma a thraw yn llawen,
A'i law lwys dan bwys ei ben,
A'i fwriad i ddifyru
Wedi darfod diwrnod du,
Adroddai, tra rhai yn rhês,
Gyda gwên ryw hên hanes;
Yna canu, yn llu llon,
Ban allent fwyn bennillion.

Eu tŷau gwnaent o wiail
Da, ac o dyweirch a dail
I'w cadw rhag drwg o'r coedydd
Yr nôs,—a'u diddos liw dydd.
Y berth a roddai borthiant,
Ffrwythydd ar goedydd gant;
Gwinwydd a grawn llawn lluniaeth,
Cnau ac afalau yn faeth.
Cyrchent a llament yn llon,
I yfed ar fîn afon;
A than graig saig felus oedd
Helwriaeth i laweroedd.

Ceisiant er mwyniant mynych
Gyryglau, neu gafnau, gwych,
I fyned i afonydd
Y wlad, ar doriad y dydd;
Rhai am dda helfa i'w hawl,
Eraill am foriaw 'n wrawl
Trwy y llî'—môr wysgi 'r ânt,
Wel, rhyfedd màl y rhwyfant!
Tonau gant rhwygant yn rhwydd,
A diflin a diaflwydd.
Y llynoedd sydd yn llawnion,
A'r llaid o bysgodwyr llon,
Trwy lynoedd rai rhedai rhwyd,
Yna eraill genweiriwyd,
Yn ol dala—gwledda 'n glyd,
A llonfwyn mewn llawenfyd.

Wela! draw, heb fraw, heb frâd,
Lu ystwyth mewn dôl wastad
Yn chwareu yn wych eres,
A chyflym, mewn grym a gwres;
Rhai oedd am rediad drwy 'r ddol,
Rhai traws am faen neu 'r trosol;
Yno dir neidiai ereill,
Pan codyma 'n llu wnai 'r lleill,
I bob oedran, dyddan daeth,
Ryw addas chwareuyddiaeth.

Os byth flinder, trymder trŵch,
A dig ar ol hir degwch;
HU GADARN, barn wrth eu bodd
Wnai â medrus ymadrodd,
Gan ymliw â gwyn amlwg,
Am bob gau neu droiau drwg;
Os amser cyfyngder caeth,
Siriol y rho'i gysuriaeth.
Weithiau y gwnaent bennaethiaid
Eistedd ar orsedd wrth raid
I adrawdd, neu ro'i, dedryd
Am nam, neu am gam a gwŷd.

Ar eu taith hirfaith ei hyd,
Beunydd caent wên, neu benyd;
Weithiau caent lon hinon hâf
Ac weithiau hîn o'r gwaethaf;
Weithiau do'i gwlaw, neu laith da,
Waith arall lwyth o eira;

Weithiau hyllig goedwig gâs
Elynawl, llawn galanas,
Lle clywid llais cryglais crôch,
Gwaedd wchw, a gweiddi och! Och!
Weithiau ddolydd gweunydd gwiw,
Tirion glwyslon, teg, glasliw,
Llawn adar cerddgar mewn cân,
A dyfais mainlais mwynlân.

Teithient—deuent o'r diwedd
Hyd fôr gwyll, tawch, hyll, di hedd,
Ar ei fin er ei flin floedd,
Llawen cartrefai 'r lluoedd,
Tros amser llawer lleuad,
Tra oer laith cyn troi o'r wlad.
Ond un dydd gwelwyd Hu 'n dod,
Wr da yn llawn myfyrdod,
Allan o'i gaban mewn gwêdd
Ddwys, amlwg, brudd a symledd.
A'i dda agwedd, swyddogion
O gywir fryd ger ei fron,
Tawel i le uchel ânt
Lu hardd yn ol eu hurddiant.
Chwai y dyfalai filoedd,
A chais wŷch—Ba achos oedd?

Hu 'n ol eistedd o hono
Ar fryn lled uchel o'r fro,
Araethiai màl hyn wrthynt
Yn dda, hardd, am newydd hynt:

"Wela 'r awr ar ol aros
Lawer dydd newydd a nôs,
A gwelwch fod argoelion
I foriaw hwnt o'r fro hon;
Daeth ddoë neu echdoë, i ni
Hanes a dâl ei henwi;
Ein morwyr wrth ymwriaw,
Yn drwm gyda 'r tonau draw,
A yrwyd i ryw oror
Eres a mâd, dros y môr;
Sef i hysbys ynys wen,
Dawel, a maesydd dïen,
Goror màl ein goror gynt,
Hylawn a da ei helynt.
Bore drenydd ein bwriad
O lu! yw moriaw i'r wlad;
Barod byddwch y bore,
O un llais pawb yn eu lle,
Er hwyliaw i'r môr heli,
Yn llon fyw ar gefn y lli';
A'r sawl yn wir breswyliant
Hyn o wlad ein cariad cânt;
Arhosant wrth eu rheswm,
Mewn mynydd, gweunydd neu gwm;
Ninnau a nawf yn uniawn,
Y tonau—pe gwaeau gawn,"

Pan derfyn ar hyn wnai Hu,
Haiachan, gan lonychu,

O fodd hwy wnaent ufyddhâu,
Yn llariaidd ei holl eiriau.

Y bore a ddaeth—wybr oedd wych,
Eglurwen a dysglaerwych;
Tra haul araul yn eres
Syllu ac yn taenu tês;
Ar unwaith môr a wenai,
A thawel pob awel ai;
A'r adar yn ddarparawl,
Gaed ar waith gyda 'r wawl;
Aethai y traeth oll weithian,
Er y dydd, màl pe ar dân;
Troi a galw ar eu gilydd,
A mawr sŵn wrth y môr sydd;
"Heliwn," meddynt, "yn hwylus,
Rhedwn a brysiwn heb rûs,
I'n llongau,—na ollyngwn
I'w hynt y cyfleusdra hwn."

Yn y fan y môr ai 'n fyw—
Gwiwdeg yr olwg ydyw!
Cynnal mae longau ceinwych,
Mewn hardd drefn ar ei gefn gwych,
Nes llon fyned o honynt
Heb anhwyl i ben eu hynt;
Ac i'r hysbys ynys ânt,
Yno calonawg glaniant.

Hu Gadarn sylwai arni,
Er gweled hardded oedd hi,
A chan weled hardded hon,
Y golwg ai i'w galon.
"O diodid," dywedai
"Wyt Ynys felus ddi fai;
Deuwch fy lluoedd diwyd,
Hon bau yw 'r oreu 'n y byd."

Yna bloeddient yn unawl
Oreu modd ryw eiriau mawl.
Clywai nef eu llef yn llwyr,
Uwch huan entrych awyr.

Erbyn hyn aent gyda Hu
Trwy ofal i gartrefu,
Y wlad newydd ddedwydd dda,
Bur iesin wlad o'r brasa'.

Hu 'n awr eu dysgu a wnaeth,
Waith arwŷn amaethwriaeth,[1]
Tori coed, a throi tiredd,
Hau, llyfnu, a gyru gwedd.

[1] Trioedd lvi. Gwel *Cambrian Register*, t. d. 163.

Ond gan fod afancod[1] fil,
Anhapus flinion epil,
Llu anwar yn y llynoedd,
Diffaith eu gwaith,—hyllig oedd.
Cywir lu o lanciau 'r wlad,
Gyrchent er mwyn eu gwarchad;
Gan geisio pren Ywen wych,
Llafnyn hanerllath llyfnwych,
Gwedi ei fwydo 'n gadarn,
Waith doeth, â chig eitha' darn.
Bellach pan hwy a'i bacha,
Wrth did o rawn cryf brith, da;
Rhoddid y rhaff graff yn grôg,
Beunydd wrth ychain Banog:
Yr Afanc pan gwanc a gai,
Yr abwyd oll a reibiai.
Yna 'r ddau ych gwych nid gwan,
Yn hyll a'i tynai allan;
Ac yn y fan cai 'n ei fol,
Drasyth a miniog drosol.

[1] "The inhabitants of those places where they (the Alligators) abound are very industrious in catching and destroying them. Their usual method is by a casonate, or piece of hard wood sharpened at both ends, and baited with the lungs of some animal. The casonate they fasten to a thong, the end of which is secured on the shore. The Alligator on seeing the lungs floating on the waters, snaps at the bait, and thus both points of wood enter his jaws in such a manner, that he can neither shut nor open his mouth. He is then dragged ashore, when he violently endeavours to rescue himself, while the Indians bait him like a bull, knowing that the greatest damage he can do is to throw down such, as for want of care, or agility do not keep out of his reach." Gwel, *Encyclopædia Britannica*, dan y gair *Erpetology*.

Modd[1] i'w ddal a'i ddialu
Fàl hyn a ddyfalai Hu.
Pan yn llanc—afanc[2] pur fawr,
Coeg-falch, mileinig, cegfawr,
Yn "Ngwlad yr Haf" a grafai,
Fin y llyn o fewn y llai;
Pan trwy 'r llai coddiai i'r clawdd,
O'i rag y lle a rwygawdd;
Yna'r llyn[3] ar led rhedodd,
Tros y wlad, mewn anfad fodd,
Nes dychryn pob dyn a da,
Weithiau rhag eu dyfetha.
Yn y man ai fwy na mwy
Ar redeg i gau 'r adwy;
A'r Afanc, er ei ryfyg,
Hu, meddir, i dir ai dyg;
A'r llyn erbyn hyn o waith,
Sylwir na thores eilwaith.

Yr Ynys hwy a ranant
Mewn hedd,—ac felly mwynhant

[1] Trioedd xcvii. Gwel, *Cambrian Register*, t. d. 160.

[2] "They (the Alligators) have been observed to raise a small hillock near the banks of the river; and after hollowing it out in the middle, to collect a quantity of leaves and other vegetable matter, in which they deposit their eggs." Gwel, *Encyclopædia Britannica*, dan y gair *Erpetology*.

[3] Trioedd xix. "Among the three primary achievements of the Isle of Britain is mentioned the prominent oxen (Buffaloes) of Hu the Mighty drawing the Crocodile (Alligator) of the lake to land, and the lake broke out no more.,' Gwel, *Cambro Briton*, cyf. i. t. d. 127. Hefyd, "An Historical Relation of the Island of Ceylon," gan Robert Knox, Llund. 1681.

Wlad yn fras, heb lidiog fron,
Neu gulaidd a throm galon,
A Hu a ganai[1] yn gynnil,
Ganiad fyddai fad i fil;
Parod oedd màl prydyddwr,
Ar daith hyd ymylau dwr.
Canai weithiau ddrwg hynod,
Oedd ar y ddaiar i ddod;
Hon pob gwynfyd a ga'i,
Y genedl daroganai.

## PRIODASGERDD.[2]

Yr Awen i Maria,
Un fwyn ddoeth, bid cân fain dda.
Dafydd! hir iechyd yfwn
I'w rhan hi o'r gwydryn hwn;
Ac i Owen bid Cywydd,
Hynaws fab, llwyddiannus fydd;
Yn fedrus âg aur fodrwy
Gan John Llwyd eu hunwyd hwy
Er budd, bid iddynt dda 'r byd,
Etifedd ac iechyd hefyd.

## ARDEB FY MAM.

Ardeb fy mam, fwynfam fach,
Gwiw lun! ni bu ei glanach;

[1] Trioedd xcii. Gwel, *Cambrian Register*, t. d. 163.
[2] Cyfansoddwyd y Briodasgerdd uchod, yn nghymdeithas y Parch. D. Charles, wrth yfed iechyd ei chwaer Maria, ar ol ei phriodi âg Owen Richards, Ysw.

Mam Elen, mam Gwen :—ei gwedd !
Rhifyr hwn, yn llun rhyfedd;
Mam fad Offeiriad y Ffydd,
A'r difyr *Banker* Dafydd.

## ANERCHIAD I'R PARCHEDIG WALTER DAVIES;

**Sef *Gwallter Mechain*, ar ei fuddugoliaeth ar faes yr Awen.**

"Curwr Eisteddfod Corwen,"[1]
Ac yna 'n y Bala 'n ben
Neb trech no Gwallter Mechain,
Ni fu trwy holl Gymru gain;
Ac heddyw nid byw un bardd,
Heb ryfyg, ond E 'n Brif-fardd.

## ANERCHIAD I'R PARCH. W. JONES,

**Pan yr anfonodd at y Bardd i ofyn iddo roddi ei enw i lawr i dderbyn cyfrol o'i bregethau.**

Gobeithiaf y caf, teg hyn,
Deilwng iaith gwerth ei dilyn;
Iaith eglur, iaith bur i'r bardd,
O'th enau; nid iaith anhardd;
Brawddegau, bànau heb wall,
Da eiriau hawdd eu deall;
Geiriau byrion dynion doeth,
O wirddysg, llawn synwyrddoeth.

[1] Cynnaliwyd Eisteddfod Corwen, Mai 12, ac Eisteddfod y Bala Medi 29 a'r 30ain, 1789.

Nid rhai hirion dyfnion dwl,
Difudd heb ynddynt feddwl.
Wyf ddystaw am d' athrawiaeth,
Di wall yw, bwyd cryf a llaeth.
Boed ddifeth màl pregethwr
Yn llaw Duw, daranllyd wr!

## ACHAU.

**"Nid oes genyf chwaeth at olrhain achau."—Dyfyniad o lythyr y Parch. D. Silvan Evans, (*Daniel Las.*)**

---

Mewn achau gorau a gaed,
Pwy a ŵyr am neb purwaed?
Llawer un ar y llawr noeth
Yn y gofal heb gyfoeth,
Sydd o waed uwch gwaed rhai gwyr,
Gwych olwg, ac uchelwyr.
Oei Dan bach, mewn hen achau,
Orthrymwyr, gwyr cyfrwys gau;
Beilchion llofruddion y fro,
Bradwyr heb wyneb wrido;
A gwyr o enwau mil gwaeth
A chwydda Lyfr Achyddiaeth.

# MARWNADAU.

## MARWNAD YR ARGLWYDDES COFFIN GREENLY, (Llwydlas.[1])

**Y Don :—" Cwympiad y Dail."**

**" Hon oedd yn llawn o weithredoedd da, ac elusenau y rhai a wnaethai hi."—ACT. IX. 36.**

**" Like flow'rs we bloom and die, and as a shade
We flee away; or like a leaf we fade."—T. S. ALLEN.**

PRUDD yw 'm calon yn fy mron,
Prudd ddigon fy meddyliau ;
O farw LLWYDLAS, enaid gu,
Fu 'n harddu 'r Eisteddfodau ;
Och ! mae heddyw yn ei bedd
Tàn gloion angeu 'n wyw ei gwedd,
Nid gyda ni yn cynnal gwledd,
CYLCHWYL-WLEDD y FENNI.
Mud ei thelyn yn y plas,
Mud ei cherdd nefolaidd flas ;
Darfu adlais, hyfryd ias,
Llais LLWYDLAS o'r llwyni.

[1] Yr uchod ydoedd y Farwnad fuddugawl yn Eisteddfod y Fenni, 1842.

Uwch ei bedd wŷl llawer bardd,
Ac yno tardd ystyriaeth
Fod îs y dôn Alawydd dlos
Oedd ëos ei chenhedlaeth;
Un a ganai gerdd mor fwyn
Gyda 'r delyn, mammaeth swyn,
Nes gwelid pawb môr llôn a'r ŵyn
Y Gwanwyn irlaswedd;
Dysgedig oedd a chall a doeth,
Ofyddes fwyn âg awen goeth;
Hi garai 'r Gwir, a'i degwch noeth,
Uwch cyfoeth a mawredd.

Cynllun oedd i ferched gwlad,
O bob ystad, i'w dilyn;
I'w thad a'i mam oedd ufydd ferch,
Llawn traserch, er yn blentyn;
Bore-godai gyda 'r wawr
I ddarllen yn ei Bibl mawr,
Gan dreuliaw llawer dedwydd awr
Mewn dwysfawr fyfyrion;
Gwedi hyn âi at ei gwaith
Er gwaeledd iechyd, saldra maith;
"A fyno Duw bid:" hyn oedd iaith,
Ac araith, ei chalon.

Teilwng Llwydlas gwlad ar Wy
O ganiad mwy rhagorawl
Noc allaf roi, neu 'r uchaf feirdd;
Neu 'r cynfeirdd pe 'n bresennawl;

Ah! llawer gwaith ar lechwedd bryn,
Wrth làn y môr, neu fin rhyw Lyn,
Y gwelwyd hi, mewn myfyr syn,
Yn derbyn gwybodaeth
O law anian yn mhob lle,
Tros wyneb byd hyd entrych Ne';
O'r Dwyrain, Llewin, Gogledd, De,
Trwy 'r ëang Grë 'digaeth.

Yn gywir iawn oedd, gywrain un,
Y tynai lun y meusydd;
Ac ar y ddôl llun gwartheg gwâr,
Llun geifr draw ar greigydd:
Llun defaid; llun merch, ieuanc lòn
A'r ŵyn yn chware ar ael y fron;
Llun gwlad a thref, llun llong ar dòn,
Llun afon gwyllt rediad;
Ac yna, gwedi porthi ei dawn,
Gofalai am y tlawd prydnawn;
Rhoi bwyd o'i flaen; rhoi coed, glo, mawn,
Yn brydlawn; rhoi dillad.

Yn iaith esmwyth Idal fras
Hi, Llwydlas, oedd gyfarwydd;
Ac felly 'n iaith y Sais a'r Ffranc,
Er pan yn ieuanc ddedwydd;
Ond os oedd hoff eu hieithoedd hwy
Gan Llwydlas, ëos glenydd Gwy,
Eto hoffai 'n hiaith yn fwy,
O! mwyfwy o lawer:

Y mae 'r Gymraeg o dlysni 'n llawn,
Yn ngwaith y bardd mae 'n felus iawn,
O wefus merch o ddengar ddawn,
Mwyn, serchlawn, mae 'n wiwber.

Ond er ei doniau o bob rhyw,
Trwm ydyw clywed beunydd,
Nas gwelir yn y Fenni mwy,
Tra Wysg a Gwy 'n afonydd.
Mae hi 'n y byd tragwyddawl draw,
Uwch cystudd, galar, ofnau, braw,
Ag euraidd delyn yn ei llaw,
Mwyn alaw 'n llawn moliant:
Ust! cân y Sant gân newydd bêr,
Mewn gwlad goruwch yr haul a'r ser,
Heddyw 'n nghôr yr engyl têr,
Côr seinber gogoniant.

## MARWNAD WILLIAM OWEN PUGHE, YSW. D.C.L., F.A.S. (Idrison.[1])

Tragwyddawl trig ei Addysg.

---

Bid arnat, Gader Idris! gwmwl dro,
A niwl caddugddu, yn gorchuddiaw yth ben;
A thywell nos yn hudd fàl galar wisg,
Oblegid ar dy odrau di, man yr

[1] Ganwyd y Dr. Pughe, yn Tŷ-yn-y-Bryn, Llanfihangel Pennant, yn Meirion, Awst 7, 1759; bu farw Mehefin 3, 1835.

Anadlodd gyntaf elfen byw, yn swrth
Ddisymwth cwympodd athraw mawr ein hiaith.
O freuder einioes dyn! mae hiraeth trwm,
A galar ar ei ol,—y Cymro gwiw!
Galara enaid Cymru; ac ar glawr
Y mynydd noeth, a bryn, a dyffryn bras
Dolefir gwae! Yr adsain clywir hi
Drwy galon Lloegr, ac yn Albania dir.
O Gader Idris idd y Wyddfa falch,
O Aran Benllyn i Bumlumon faith,
O Fon hyd Wynedd, a phellafoedd Gwent,
Cymro a etyb Gymro, "O fy nhad!"
Neu "O fy mrawd!" neu "O y Doethawr Pughe!"

Cawr oedd mewn dysg, a doeth yn iaith ei wlad,
Màl tystia ei Eiriadur gwych. Oedd hoff
Ei glywed lawer gwaith, mewn cywrain fodd,
Yn olrhain gwreiddyn gair Cymraeg; ac, O!
Màl y dadglymai ddyrys glwm yr iaith;
Ei debyg ef am hyn ni fu, ni fydd.

Nid llai ei glod am ei wybodaeth bur
Mewn hanesyddiaeth. Ato cyrchent gwyr[1]
Dysgedig Prydain, màl at Dderwydd call,
I dderbyn addysg am ei chenedl gynt,

[1] Ato cyrchent, &c. Cyfeiriad at Syr Walter Scott; Robert Southey, Ysw.; Archddïacon Cox; Sharon Turner, Ysw.; G. Chalmers, Ysw.; Parch. W. Warrington; Parch. W. Gunn; ac amrai ereill, y rhai a ymgynghorent âg ef mewn perthynas i hanesyddiaeth, &c.

O amser Hu i lawr hyd awr y frad [1]
Pan lâs Llywelyn [2] yn y Fuallt droch.

Dyroddwyd iddo ddawn, ac iaith, a dysg
Y Cynfeirdd, màl rhoddi mewn rhyw lestr mawr
Tryloew ddiliau mêl, gwaith llawer haid.
Astudiai eigion nos eu hawdlau hwynt,
I ganfod tarddiad y gysefin iaith;
A rhyfedd màl y treiddiai feddwl cudd
Prydyddiaeth eirian y cynoesoedd myg!

Gwiw oedd ei ddawn! Coll Gwynfa Miltwn fardd, [3]
Y prif o feirdd ei wlad am ddwyfawl gân,
Trwy ddwys fedrusrwydd a Gymreigiodd ef.
Gorchestwaith Heber hefyd, bardd o fri, [4]
A fedd y Cymro yn ei iaith ei hun,
Gan yr un gwr. Nod gwaith ein hynaif feirdd, [5]
Trwy ei ddiwydrwydd, ceir yn iaith y Sais.
Pallai yr Awen fau pe soniwn am

[1] O amser Hu, &c. "Tair ciwdawd addwyn Ynys Prydain. Cyntaf oeddynt genedl y Cymry, a ddoynt gyda Hu Gadarn i Ynys Prydain; sef ni fynai efe wlad a thiroedd o ymladd, ac ymlid, eithr o gyfiawnder ac yn nhangnef," &c.—*Trioedd.*

[2] Pan las Llywelyn; sef Llywelyn Tywysawg olaf y Cymry, yr hwn, drwy frad, a laddwyd yn Muallt, swydd Brycheiniog, yn y flwyddyn 1282.

[3] Coll Gwynfa Miltwn fardd; cyfieithad o *Milton's Paradise Lost.*

[4] Gorchestwaith Heber; sef *Heber's Palestine.*

[5] Nod Gwaith, &c. Cyfeiriad at ei gyfieithad o waith Llywarch Hen, Taliesin, &c., idd y iaith Seisoneg.

Ei waith yn llwyr,—Hu Gadarn ac y Bardd;[1]
Neu am y Mabinogion, chwedlau hen,[2]
Pa fodd y tynai hwynt i oleu dydd;
Ni pherthyn hyn i gân; nac adrawdd chwaith
Y nifer mawr o Gyhoeddiadau teg[3]
A gynnwys ôl ei law, a delw 'i ddysg.

Hanbych well, fy ngwlad! Meirion! hanbych well!
Hoff bid y dydd y ganwyd mab o lin
Y Cymry hen i dragwyddoli eu hiaith!
Addurn ei wlad, Idrison! tra bo gwaed
Yn ffrwd yn ngwythi Cymro, enwir di;
Tra chlywir gair Cymraeg mewn gwlad a thref,
Dy enw di, Idrison! parchus fydd.[4]
Tra Chader Idris, ac ei chreigiau serth,
Tra Mwyngil[5] yn bwrlymu îs ei throed,
A thra Dysyni[6] yn adlef idd ei gân;
Byw fyddi byth, Idrison! yn ein cof.
Bu Salesbury[7] o dy flaen; bu Davies, gwr[8]

[1] Hu Gadarn, &c. Cywydd o III. Caniad, gan Idrison: Llundain, 1822. *Y Bardd*, cyfieithad o awdl arddunawl Gray, a elwir y *Bardd*. The Bard; an ode, by Gray.

[2] Y Mabinogion, y rhai a gyfieithwyd gan y Doethawr Pughe idd y iaith Seisoneg.

[3] Sef y Monthly Magazine, Cambrian Register, Cambro-Briton, Cambrian Quarterly Magazine, y Greal, &c.

[4] Enw benthyciawl y Doethawr Pughe.

[5] Mwyngil; llyn yn ymyl Cader Idris.

[6] Dysyni; afon yn rhedeg heibio y tŷ y ganwyd y Doethawr Pughe ynddo.

[7] Bu Salesbury; sef William Salesbury, cyfieithydd y Testament Newydd i'r Gymraeg, ac awdur y Geiriadur Cymreig a gyhoeddwyd o dan ei enw.

[8] Bu Davies; sef y Parch. Dr. John Davies, o Mallwyd, awdur y Geiriadur Cymraeg a Lladin.

Dysgedig yn ei oes; bu GWILYM,[1] llawn
O aidd o blaid ein iaith; bu WALTERS, mawr[2]
Ei lafur oedd; ond ti, IDRISON! ti
Wyt arnynt oll yn frenin, ac yn ben.
Mâl y rhagora athraw uchel ddysg,
Ar ei ddysgyblion ieuainc eiddil ddawn;
Neu fâl rhagora celfydd, cywrain wr,
Medrusddoeth yn ei swydd, ar weithiwr brydd;
Ti yr un wedd rhagoraist arnynt hwy.

O GADER oesawg uchel drum! mawr yw
Dy fri yn mysg colofnau nef. Ti dros
Byth a sefi, gan anfarwoli prif
Seronydd.[3] Anfarwoler gydag ef
Y prif Gymreigydd. Mwy na enwer di
Heb gofiaw am y gwr.

Y Doethawr PUGHE!
Fy nghyfaill! anwyl iawn oedd genyf gynt
Dy araeth fwyn; ac eistedd wrth dy draed
I wrandaw ar dy lais. Hyn ni chaf mwy;
Ond cofiaf di mewn syndawd, gyda pharch,
Tra rhed fy ngwaed. Ac nid anghofia neb
Y meddwl uchelmawr oedd genyt ti

[1] BU GWILYM; sef Thomas Gwilym, meddyg, o Drefriw, awdur y Geiriadur Lladin a Chymraeg, a gyhoeddwyd ar yr un pryd, ac yn yr un llyfr, ag eiddaw y Doethawr Davies.

[2] BU WALTERS, &c.; sef y Parch. John Walters, awdur y Geiriadur Seisoneg a Chymraeg, yn y flwyddyn 1794.

[3] Y PRIF SERONYDD; sef Idris.

Am bawb ond un ; am hwnw nid oedd gair ;
Am Robin Ddu o Fon,[1] ac Iolo fardd,[2]
Ac Owain Myfyr,[3] ti a gerit son,
Gan eu canmoli gyda haeddawl glod.

Nid rhyfedd ar ei ol bod arwyl tost,
Mỏr anwyl genym oedd. Pan gwympodd ef,
Prif golofn iaith y Cymry idd y llwch
A lethrid. A phwy ar ei ol a fydd?
Ei drech ni fu o barth gwybodaeth mewn
Cof Clyw[4] ei wlad. Ac nid ymdrechodd neb
Fàl yr ymdrechodd ef i ddwyn ein iaith
I sylw y byd. O Gymry! cofiwn hyn.'

Trwy Brydain Fawr, yn Allmaen, ac yn Ffrainc,
Ei enw hysbys yw i wyr o ddysg.
Tragwyddawl trig ei addysg, ei grëad
Ef ei hun ; ffynon gref yn bwrlwm byth.

Hen ein cenedl ni; ac hen yw ein iaith,
Ceir gwreiddiau hynaf ieithoedd byd yn hon.
Na choller hi rhag ofn coll fo gwaeth ;
Ein iaith pe collem, pand diogel yw?

[1] Am Robin Ddu o Fon ; sef Robert Hughes.
[2] Iolo Fardd ; Iolo Morganwg, sef Edward Williams.
[3] Owain Myfyr; Owain Jones, Ysw., o Thames Street, Llundain, yr hwn a gyhoeddodd ar ei draul ei hun, y "Myvyrian Archaiology."
[4] Cof Clyw ; oral tradition. Gwel *cof* yn Ngeiriadur y Doethawr Pughe.

Ein cenedl mwy ni rifid byth yn mysg
Cenedloedd byd. Gelyn ei genedl yw
Y Cymro ffals ni charo iaith ei wlad.
Ond bydded byw, tra byd, yr iaith Gymraeg,
A thra bo daiar, cof am Ddoethawr PUGHE;
Ac os i NANTGLYN, lle yn huno mae,
Y rhodia bardd ar ddamwain at ei fedd
I syllu ar y llwch, ei wely oer,
Dynesed at y fan yn barchus brudd,
Ac aed yn ol yn llawn o fywiawg aidd,
Gan godi, màl y gwnaeth, Cofadail hardd
Mwy oesawl noc y marmawr, neu y pres.

Y byd yw bedd enwogion wyr, nid oes
Dim rhaid wrth faen cerfiedig uwch eu llwch;
Y parch sydd iddynt, ac eu clodfawr waith,
Yw eu COFADAIL, nid oes eisiau mwy.

Er byred einioes dyn, eto mewn un
Oes fer gall enill enw na fydd marw byth.

## MARWNAD IFOR CERI,[1]

Sef y Parchedig JOHN JENKINS, M.A., Periglor CERI, yn swydd TREFALDWYN, yr hwn a fu farw Tachwedd 20fed, 1829, yn lx mlwydd oed.

Gwr da a fawr gerid oedd
Yn deilwng drwy'r ardaloedd;
Caredig, cywir ydoedd,
Haelionus, croesawus oedd.
IEUAN GLAN GEIRIONYDD.

---

TAN YWEN hen gorweddwn, min yr hwyr,
Pan Haul olwynawg parth ei lewin dŷ
Yn llwybraw, gan belydru goleu prudd,
Cyd-rhwng y ceinciau, dros y Fonwent las.
Yr awel oedd orlwythawg mâl o fêl
A roddid iddi ar ei hynt gan fân
Ac amliw flodau. Hefyd mwyn oedd llais
Yr adar cân o lawer llwyn a pherth
Yn odli mawl. Er hyn fy ysbryd oedd
Môr drist wrth ystyr y dystawrwydd llwyr
Oedd yn y bedd, nas medrwn er un dim
Roi clust i anian gan feddyliau trwm.

[1] Ganwyd gwrthrych y Farwnad hon yn CILBRONAU, yn mhlwyf LLANGOEDMOR, ger tref ABERTEIFI. Yr oedd ganddo ef bedwar brawd; eithr efe oedd y mab hynaf. Cafodd ei ysgoliaeth yn yr Ysgol Ramadegawl Eglwysig yn NGHAERFYRDDIN, ac oddi yno pan yn 19eg oed aeth i Goleg Iesu, RHYDYCHAIN, ac yn mhen amser symudodd oddi yno i Goleg MERTON, hefyd yn RHYDYCHAIN. Gwel ei hanes yn *The Cambrian Quarterly Magazine*, cyf. ii. t. d. 88, gan WALTER MECHAIN, a'r *Gwyliedydd*. Gwel hefyd y *Cylchgrawn*, t. d. 338.

Ehedwn yn fy mryd dros oesoedd gynt,
Adgofiwn rai oedd enwawg yn eu dydd
Am eu doethineb er llesäad i ddyn;
Ac eraill am eu rhwysg mewn brwydrau drud,
Nes crynu o deyrnasoedd rhag eu grym.
Pa le y maent? pa le y dewr? y doeth?
Màl gwan a ffol yn gyd-radd yn y bedd.

Tra syniwn hyn,—y nos ei mantell dew
A godai uwch y byd, gan guddiaw haul
A dydd o olwg dyn. Ac màl gan fraw,
Yr ednaint oll eu pènau cuddient, ond
Yr adar cyrff, o dan eu hesgyll clyd.
Ar hyn tebygwn ganfod gwrthrych du,
A! duach noc y nos, yn agosâu,
Dan wylaw megys Rachel am ei phlant.

Endewwn dro mewn dychryn dwys, a braw,
Màl gwrych fy ngwallt yn sefyll ar fy mhen;
Mòr groes i ddynawl oedd y golwg hwn;
Amcanwn ffoi, oferedd oedd y cais,
Ni allwn ffoi. Ac, och! yn nes y daeth,
Nes oeddwn megys marw rhag ei drem;
Ymaflai yn fy llaw, angeuawl wasg,
Bythni anghofiaf y gafaeliad llaith.

"Dyred Awenydd! dyred ar fy ol,"
(Mewn llais cwynfanus y dywedwyd hyn,)
"Myfi yw Awen, cyfod ar dy draed
A dilyn fi."

Ar hyn mewn arswyd chwith,
Dilynwn hi, yn araf ac yn llesg,
Trwy ganol teyrnas ANGEU hyd nes troi
At fedd,—lle safai, ac y canai hyn:

"Anghofia, FARDD! y meirw gynt oedd yn
Dy fryd dan frig yr YWEN draw. Cwsg un
Islaw y maendo hwn,—adgofia ef,
Dy gyfaill IFOR CERI ac oedd yn ail
I IFOR HAEL mewn haelder. Herwydd hyn,
Iawn y gelwid ef yn IFOR. Ei dŷ byth
Oedd dŷ agored i holl feirdd y wlad,[1]
Ac i bob medrus gerddawr. Yno hoff
Eu gweled hirnos gauaf cylch y tân,
Yn llawen wledda ar ddanteithion pêr
Yr AWEN a melusion CERDD a THANT.
Mòr groes yn awr! anwadal yw y byd,
Byr a brau llawenydd dyn;—darfu cân,—
Ni welir IOAN mwy yn mysg y byw,
Mae yn ei fedd un wedd ag IFOR HAEL.

[1] Arferai pob Gwyliau Nadolig agoryd ei dŷ am bythefnos i dderbyn, a chroesawu, beirdd a cherddorion. Mewn cyfeiriad at hyn y dywedodd y diweddar Barchedig WALTER DAVIES, sef GWALLTER MECHAIN:—

Llios afiaeth yn llys IFOR
Dystawodd, ciliodd y Côr;
Côr o feirdd; cyrf o urddas
Llawen eu bloedd; llu'n ei Blâs;
Y CYNFEIRDD yno canfum,
Ac *un* o'i feirdd gwan a-fum.

O galar! lle bu GWYLIAU
Llon a hedd, i'n llawenhau;
Bellach! y WLEDD a ballawdd,
I dorf y nwyf darfu nawdd!
Yn lle GWLEDD, GORSEDD a GAWR,
Mae iâs iaen yn mis Ionawr.

Ac màl y canai Prydydd Hir[1] ac ef
Yn rhodiaw tir Maesaleg[2],—dywed beirdd
Am Ceri,
‘Y llwybrau gynt lle bu'r gân.’
Er hyny llawenhäant bod mab yn fyw
I Ifor Ceri. Hwn, màl bu ei dad,
Ei ddelw yw, a fydd wladgarwr cryf.

Cwsg Ifor! cwsg yn dawel yn dy fedd,
Dy fab a gwblhäa y gwaith oedd yn dy
Fryd ar gwblhau."
Prin canodd hyn cyn dod
O Alar a adwaenwn wrth ei gwisg
Wrth wawr y Lloer pryd hyn yn tori trwy
Y cwmwl du. Mòr farwawl oedd ei gwedd;
Mòr llaes ac mòr aflerw, oedd ei gwallt;
Nes codi arswyd newydd yn fy mron.
Ei llygaid oedd ddïysgawg yn ei phen,
A llèn o brudd-der drostynt, megys pan
Oguddier ser gan gwmwl teneu gwŷn.
Pan at y bedd y daeth, o gam i gam,
A dwylaw pleth màl un mewn gwasgf drom,
Yn synllyd safai dros fynydau maith;
Ond yn y màn yr hidlai dagrau dros
Ei gruddiau llwyd! ac heb ymattal mwy,
Dywedai:—"A! du gyfrwng yw y bedd,

[1] Y Parchedig Evan Evans, bardd rhagorawl, ac Ysgolhaig uchel o Geredigion, Awdur *De Bardis Dissertatio*, *Specimens of the Antient Welsh Bards translated into English;* ac o eraill weithoedd.

[2] Maesaleg, Trigfa Ifor Hael, bardd yr hwn Ifor oedd Dafydd ab Gwilym. Bu iddo ef farw yn ddiblant. Cafodd Ifor Ceri un mab.

Yn cuddiaw byd anghysbell nas gŵyr dyn
Am dano ddim, neu ail i ddim, nes êl
Ei hun drwy borth y bedd, lle cyrhaedd pawb.
Dy gyfaill ddoe oedd lawen yn ei dŷ,
Yn lloni ei gymdeithion oll â gwên
A charedigrwydd na anghofir rhawg.
Heddyw yn y llwch y gorwedd; cyn hir
Gorweddi dithau megys ef. Nid oes
Na dawn, na dysg, na dim a achub dyn
Rhag crafanc angeu, er pan brofwyd ffrwyth
Y gwaharddedig bren yn Eden gynt.
Dy unig gysur wrth dramwyaw byd
O wae, mewn hiraeth am gyfeillion gwiw,
Yw meddwl am y dydd y gweli hwynt
Mewn bythawl fyd, lle na fydd marw mwy.
Màl cyfyd Haul o groth y dywell nos
Yn deg ysplan, heb gwmwl ar ei ffriw;
Neu màl yr adfyw yn y ddaiar laith
Yr had a deflir iddi; yr un wedd
Y meirw oll, pawb yn ei gorff ei hun,
Yn fyw a adgyfodant."
"Gwyn eu byd
Pryd hyn," (gwrthebai llais Llawenydd yn
Y Nef,) "a gaffont ran yn nheyrnas Duw,
Lle y dysgleiriant y cyfiawnion màl
Yr Haul, heb ofni machlud ar
Eu gwynfyd pur. Gogoned lu! cânt yn
Eu dwylaw Balmwydd tirf; a newydd gân
Uwch caniad angel fydd eu cerdd, sef mawl
I Dduw. Ac ynddo yr ymddigrifant byth
O un llawenydd i lawenydd mwy."

Pan glywais hyn,—Mòr ddedwydd, meddwn, fydd
Eu cyflwr hwynt, heb angeu yn eu plith,
Heb ing heb boen! Ac wrth ymsynied ar
A glywswn oll ar làn y bedd,—y wawr
Yn decach noc y gwelswn hi erioed
A godai yn y dwyrain fyd gan ddwyn dydd.
Y ser o un i un, gan ddilyn nos,
Yn swrth y cilient i lochesau gwŷll;
A minnau truan oeddwn wrth y bedd
Neb ond fy hun, yn wlŷb gan wlith y nef,
Yn oer, yn wir frawychus ar ol nos
Mòr chwith.
Gan daflu golwg ar y màn
Lle gorwedd Ifor Ceri, ymaith trown
Mewn myfyr dwys gan rodiaw tua thref.

Gwae fi! nad allwn lwyr adgofiaw pa
A glywais cydawl nos. Am nad yw hawdd
Digoned hyn a gofiais, er mòr fyr
I barchu cof ein cyfaill Ifor byth.

## MARWNAD MAB BRUTUS.

Yr ateb i lythyr Mr. D. Owen, (*Brutus,*) Prif Olygydd "Yr Haul," yn rhoddi hanes am glefyd a marwolaeth ei fab hynaf.

---

A mi ar lan gwyllt afon Hyfer,
O dan goedwen dderwen hen,
Yn edrych ar y dwr crisialaidd
Yn bwrlymu gyda gwên;

Gwelwn fachgen yn brasgamu
Tuag ataf oddi draw;
Tros y weirglawdd yn prysuraw
Gyda llythyr yn ei law.

Ar ol i'r llythyr ddod i'm dwylaw,
Adwaenwn law hen gyfaill cu,
" Paham," ebwn, " y mae 'r llythyr
" O Lanymddyfri 'n ei ddu?"
Yna agawr, dechreu darllen,
A darllenwn newydd prudd;
Nes dyfalwn weled Brutus
A'r dagrau 'n hidl dros ei rudd.

Ni ddarllenodd neb un llythyr
Mwy cwynfanus, naddo erioed;
Llythyr tad yn rhoddi hanes
Am ei fachgen ugain oed,
Yn ymdrechu gydag angeu,
Ac yn yr ymdrech yn gwanhâu;
Gweled llygaid byw yn pylu,
Ac yr anadl yn byrhâu.

Dim ond croen yn cuddiaw 'r esgyrn,
A'r chwŷs yn ffrydiaw drwy y croen;
A chwsg ni roddai gymhorth iddo,
Ond chwanegai at ei boen.
Y mae 'r peswch yn cynnyddu,
A thrwy bob cymmal gwayw maith;

Rhwnc ei wddf sydd yn boenus,
A chwŷs ei ddwylaw 'n oeraidd laith.

Trwm y newydd, Brutus anwyl,
Fod dy fab dy yn y bedd;
Ond da 'r newydd ydoedd clywed
Iddo hunaw 'n llawn o hedd;
Mewn hedd a Duw drwy waed y cymmod,
Nid mewn hedd â byd a chnawd;
A bod Iesu yn y cyfwng
Iddo 'n gyfaill gwell no brawd.

Màl blodeuyn yn y bore
Yn gwenu ar yr haul ysplan,
Gan ryw law yn cael ei friwaw,
Yna gwywaw yn y fan:
Felly Tomas yn y bore
O môr siriawl oedd ei wedd!
Cyn haul einioes gyrchu 'r entrych,
Wele Tomas yn ei fedd.

## MARWNAD MORWR,

'Sef mab Mr. D. Salmon, o'r Llystin, Nanhyfer.

---

Y Duw Creawdydd tir a môr,
Efe sy Dduw, Tragwyddawl Ior;
Efe yw Tad holl ddynawl ryw,
Ac wrth ei blant trugarawg yw.

Wrth ei orchymyn Ef y daw
Mellt, taranau, gwynt a gwlaw;
Ac wrth ei air ardderchawg Ef
Y tywyn Haul yn entrych nef.

E welir Duw trwy ei holl waith,
Màl Llywydd ei ragluniaeth faith;
Er hyn i ddyn dyryslyd yw
Ffyrdd ei ragluniaeth o bob rhyw.

Mae llawer mam yn wylaw 'n brudd,
A'r dagrau 'n hidyl dros ei grudd;
Dywedyd mae â thoddaidd lef,
" Mòr chwerw yw rhagluniaeth nef."

Mae llawer plentyn yr un wedd
Yn wylaw 'n chwerw ar ael y bedd;
Gan holi yno'n drist, " Paham,
" Y buost farw fy anwyl fam?"

Mae llawer ffordd i byrth y bedd,
Trwy dân a dwr, a miniawg gledd;
A thrwy glefydon blinion iawn,
Neu ddamwain fach; ac ymaith awn.

Ffordd o ddewisiad Duw y sydd
I bawb a fu, y sydd, neu fydd;
Ar fôr, neu dir, fàl myno Duw,
Bydd terfyn einioes pob dyn byw.

Mewn monwent las o harddbryd wedd,
Gwel yr amaethwr màn ei fedd;
A'r morwr yntau, yn drist, yn llon,
Gwel ef ei fedd goris y dòn.

Nid cloch y Llan, ond cynhwrf gwynt,
A'r mor tymhestlawg, rhuawg hynt,
Yw clul y morwr ar y daith
Pan êl ei gorff i'w feddrawd llaith.

Fy nghyfaill Salmon, calon friw,
Wylaw ar ol dy fab nid gwiw;
Rhodd Duw oedd ef a'i alw a wnaeth,
Gwir morwr oedd, i'w fedd yr aeth.

## MARWNAD ROBERT WILIAM,[1]

**Bardd ac Amaethwr o'r Pandy Isaf Trefrhiwedog, ger y Bala, ac Athraw Barddonawl yr Awdur.**

O Robert mae oer uban
A llais trist yn Nhre' a Llan,
O dy fod yma 'n dy fedd
Yn y gweryd yn gorwedd;
Ochain sydd im' o'th achos
Och ! beunydd yn nydd a nos.

Da genyf oedd dy ganiad,
Fardd arafaidd mwynaidd mâd,
Dyddan y rhoddaist addysg
I rai a dderbyniai ddysg;

[1] Bu farw Awst, 1815.

A mynych rhoist i minnau
Yn fwyn o'r ddysgeidiaeth fau,
A thra bo chwyth byth bythawl
Dy awen f' awen a fawl.

Ar ol im' fod yn rhodio
Dros enyd o'r hyfryd fro,
Daethum wrth ryw ymdeithio
I'r PANDY i'w dŷ, do, do;
Ar fwriad fel arferol
Gweled y Bardd hardd i'm hôl
O draw a'i ddwylaw ar led
Yn fy ngalw am fy ngweled;
Er dysgwyl mewn hwyl am hwn
Ow! alar, ef ni welwn.
Och! newydd achwyn awen
Hyll yw ein pŷd, colli 'n pen
O! chwithdod syndod im' son,
Farw prif-fardd o FEIRION.

Aethum oddiyno weithian
Yn ewybr a'm llwybr i'r Llan
At y bedd, rhyfedd yr hynt,
I'w holi am ei helynt.
Er aros yn wir oriau,
Yn hir hir nes cwbl hwyrhâu,
Gan ateb nid atebodd
I mi air, Och! marw oedd.

O trymaidd a fydd tramwy
I'r Pandy, o'ch fi ! i mi mwy
Ni chaf hwn, och ! fi hyny,
O waëw dwys ! o fewn ei dŷ ;
Diammau ei fyn'd ymaith
I dŷ 'r bedd, diwedd ei daith,
O'i fyned i'r nef hefyd
Ac E' yn Fardd, gwyn ei fyd.

## GWLAD FY NGENEDIGAETH.

**Pennillion a gyfansoddwyd yn Haf y flwyddyn 1819, pan oedd Ioan Tegid, brawd awenyddol i'r awdwr, yn bwriadu gadael gwlad ei enedigaeth, a myned i ymsefydlu yn yr India Ddwyreiniol. Yr amcan oedd denu y Bardd godidog hwnnw i beidio ymadael â Gwlad ei enedigaeth, trwy ei ddarlunio fel yn cwynfan yn y modd canlynol, yn y fro estronawl honno.**

---

"Trwm yw f' enaid, trwm yw f' yspryd,
Trom yw 'nghalon fach bob ennyd,
Gan ryw alar oer a hiraeth,
Am hen Wlad fy Ngenedigaeth.

Anwyl gwin, ac anwyl arian,
Anwyl haf, ac awyr fwynlan,—
Ond anwylach im' nag unpeth
Bryniau Gwlad fy Ngenedigaeth.

Hyfryd iawn yw gwel'd yr haulwen
Yn ymdorri draw o'r Dwyrain ;
Etto gwell f'ai golwg eilwaith
Ar hen Wlad fy Ngenedigaeth.

Fel yr hydd am ddwr y dyffryn,
Fel yn ol ei fam yr oenyn,
Cwynaf finnau 'n fawr fy alaeth,
Am hen Wlad fy Ngenedigaeth.

Beth i mi yw mwyth ddanteithion?
Beth i mi yw maith oludon?
Beth y byd a'i holl arglwyddiaeth,
Maes o Wlad fy Ngenedigaeth?

Pe bawn frenin ar yr INDIA,
Neu drigolion holl EWROPA,
Dim i mi f'ai pob dyrchafiaeth,
Maes o Wlad fy Ngenedigaeth.

Ym mha le y mae 'n ymsymmud
Hen gyfeillion mwyn fy i'eugctyd?
B'le mae 'n trigo bob anwylbeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae 'r tŷ, a ph'le mae 'r aelwyd
Fu im' hygar, lle fy magwyd?
B'le mae ffynnon pob rhagoriaeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae 'r ardd, a ph'le mae 'r caeau,
Lle y buais gynt yn chwarau,
Heb na gofal na gwanobaith?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae 'r llwybrau fu'm yn rhodio,
Lawer gwaith dan beraidd byngcio,
Oll yn llawn o'r awenyddiaeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth,

B'le mae 'n byw 'r genethod difyr,
Rai a fedrant garu 'n gywir,
Heb adnabod twyll na gweniaith?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae 'n byw yr *un* anwylaf
Ga's fy serch a'm cariad cyntaf?
B'le mae hon yn marw o hiraeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae 'r man cyfeillgar hynny,
Lle mae pawb fel o'r un teulu,
Heb na chilwg nac ucheliaeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae 'r haul a'r hwylus galon?
B'le mae bwyd yn rhad i estron?
B'le mae byw yn ol naturiaeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae cynnal glân ddefodau,
Iawn a didwyll fy hen dadau?
B'le mae 'n byw yr hen Gymreigiaeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae 'r delyn bêr ei thannau?
B'le mae darllen mwyn gywyddau?
B'le mae 'r Awen a'r Farddoniaeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

Crôg oedd telyn plant hen Sïon
Ar y gwiail gynt ym MAB'LON,
Mud y gân gan oeraidd hiraeth
Am hen Wlad eu Genedigaeth.

Meddai meibion BABYLONIA,
Rhowch in' ganiad, blant JUDEA;
Ebent hwy, Nid oes gerddoriaeth
Maes o Wlad ein Genedigaeth.

Llawer gwaith dywedaf finnau,
Awen, rho im' gân i'm genau,
Ond atebai 'Does it' obaith
Maes o Wlad dy Enedigaeth.

Beth wna Bardd ar ddolydd INDIA?
Beth wna Bardd o'i wlad anwyla'?
'R Awen fwyn ni chân beroriaeth
Maes o Wlad ei Genedigaeth.

Cwyno, nos a dydd yn ddibaid
Yma 'r wyf ym mhlith estroniaid,
Nid am aur na goruchafiaeth,
Ond am Wlad fy Ngenedigaeth.

Mynych âf i ben y creigiau,
Tro'f fy ngolwg, gyda dagrau,
Dros y ce'nfor garw diffaith
Tua Gwlad fy Ngenedigaeth.

Yna tyr yn friw fy nghalon,
Gwel'd y môr a'i donnau mawrion,
Rhyngof fi yn gwneyd ysgariaeth
A hyfryd Wlad fy Ngenedigaeth.

Gwel'd y môr a'i donnau 'n berwi
Fel pe b'ai e'n ymhyfrydu
Ei fod rhyngof fi ag odiaeth
Anwyl Wlad fy Ngenedigaeth.

O ! na chawn adenydd c'lomen,
Hedwn dros y moroedd llydain,
I gael golwg ar gu helaeth
Fröydd Gwlad fy Ngenedigaeth.

Mi orweddwn yno 'n dawel
Drwy fy oes mewn caban isel ;
Cyfoeth byd ni'm denai ymaith
O hen Wlad fy Ngenedigaeth.

DANIEL DDU.

## ATEB TEGID.

"I mi bu cyfeillion lawer, rhywiog a chywir, yn deall cyfreithiau caredigrwydd, ac yn eu cadw yn fanwl; ond UN arbenig o blith y nifer, gan ragori arnynt oll mewn cyfeillach ataf, a ymegniai eu blaenu belled ag y blaenynt hwy y sawl ag oeddynt o gyffredin serch tuag ataf."

ST. CHRYSOSTOM.

DANIEL! DANIEL! paid a'th gynghor,
Nid oes achos d'wedyd rhagor;
Byth ni wel yr INDIA helaeth
Fi o Wlad fy Ngenedigaeth.

Wrth im' ddarllen dy bennillion,
Gair GWLADGARWCH rwygai 'm dwyfron,
Fel nad allwn er dyrchafiaeth,
Adael Gwlad fy Ngenedigaeth.

Dy resymau ŷnt mor gryfion,
Maent i mi mâl dur-forthwylion;
Peraist im' er pob ystyriaeth,
Fyw yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

Oni b'asai i'th fwyn bennillion
Dreiddio draw trwy giliau 'r galon,
Buaswn i, wrth bob argoeliaeth,
Yn mhell o Wlad fy Ngenedigaeth.

Pan ofynwyd i mi gynta'
A awn o'm gwlad i fyw i'r INDIA,
D'wedais awn;—ond eto hiraeth
Oedd am Wlad fy Ngenedigaeth.

Barnu 'r oeddwn i, pryd hwnw,
Mai o Feirion gwell im' farw,
Na gwel'd plant yr hen waedoliaeth,
Yn gwerthu Gwlad eu Genedigaeth.

Gofid enbyd oedd i'm calon
Weled Cymry 'n troi yn Saison,
Gan anghofio iaith dda odiaeth,
Iaith hen Wlad eu Genedigaeth.

Onid trwm fod Cymro 'n gallu
Gwadu iaith ei fam anwylgu,
Gwadu 'n hyf, er ei Gymreigiaeth,
Ow! hen Wlad ei Enedigaeth.

Awn i blith yr Indiaid gwylltaf,
Awn i bellder gwledydd poethaf,
Cyn y gwadwn fy nghym'dogaeth,
Neu iaith Gwlad fy Ngenedigaeth.

Cymro! Cymro! gwaeddaf allan,
Iaith dy fam pan oeddit faban,
Hono cara mewn maboliaeth
Gyda Gwlad dy Enedigaeth.

Tra fo môr, a thra fo mynydd,
Tra fo 'n llifo yr afonydd,
Na foed Cymro mewn gelyniaeth,
A hen Wlad ei enedigaeth.

Merched Cymru, mwyn galonau,
Glân o bryd a gwedd a geiriau;
Cerwch iaith eich mam yn helaeth,
Hefyd Gwlad eich Genedigaeth.

Nid oes mwynach peth na chlywed
Iaith Gymraeg o enau merched;
Y Gymraes, a fyddo famaeth,
Cofied Wlad ei Genedigaeth.

Pan feddyliwyf fi am FEIRION,
BALA bach a'r hen gymdeithion,
Glynu 'r wyf, màl oenyn llywaeth,
Wrth hen Wlad fy Ngenedigaeth.

O! mae f' enaid yn ymlynu
Wrth anwylyd lân yn NGHYMRU;
Gwn na fyn, mwyn yw ei haraeth,
Wadu Gwlad ei Genedigaeth.

Gyda hon mae ffyddlawn galon,
Gyda hon mae geiriau mwynion,
Pwy rydd imi bob cysuriaeth?
Hon a Gwlad fy Ngenedigaeth.

Gallwn fyw ar ben y mynydd,
A byd gwael o ddydd bwy gilydd,
Gyda hon, a'r Awenyddiaeth,
Yn hen Wlad fy Ngenedigaeth.

Parchu 'r ydwyf ferched Saison,
Ni chant genyf eiriau duon;
Ond pwy bïa y rhagoriaeth?
Merched Gwlad fy Ngenedigaeth.

Bellach, bellach, rhaid im' dewi,
Mae fy nghalon oll yn lloni;
Ymaith, ymaith, pob hudoliaeth
A'm dwg o Wlad fy Ngenedigaeth.

Daniel Daniel! y mae f' awen
Wrth ei bodd yn fywiog lawen,
Am ei bod yn cael magwraeth
Etto 'Ngwlad ei Genedigaeth.

Aed i'r India 'r sawl a fyno,
A phob llwyddiant a'i canlyno;
Ceisiaf finnau gael bywiolaeth
Yn hen Wlad fy Ngenedigaeth.

Gwlad Efengyl, gwlad yr Awen,
Goreu gwlad o tan yr haulwen,
Gwlad yn profi gwên rhagluniaeth,
Hon yw Gwlad fy Ngenedigaeth.

## YMLADD CRESSI, A.D. 1346.

Cyflwynedig i WENYNEN GWENT.

I like the Leeke above all hearbes and flowers;
When first we wore the same, the field was ours;
The Leeke is white and greene, whereby is ment,
That Britaines are both stout and eminent;
Next to the Lion, and the Unicorne,
The Leeke 's the fairest emblyn that is worne.

HARLEIAN MSS.

---

YN ymladd CRESSI [1] gwnaed Gorchestion
Gan y Cymry, medd hanesion;
O'u blaen gan boethed yr ymladdfa
Y cwympodd Brenin gwlad BOHEMIA;
Ar ei helm y caed tair pluen
Mewn euraid grib, â'r gair ICH DIEN.

CADWGAN FOEL, â chalon lawen,
Ac yn ei law grib tair pluen,
A gerddai at Dywysawg CYMRU,
Ar ol y frwydr, i'w anrhegu
Gan roddi iddo 'r grib tair pluen,
A'i godidawg air ICH DIEN.

CADWGAN FOEL, rhaid cofio hyny,
Oedd yn Gadben ar y Cymry;

[1] "Yn y flwyddyn 1346, y bu ymladd Cressi, lle cafas y Cymry fawrglod am ymladd yn lew gyda'r Tywysog Edward Ddu, ar pryd hynny y gwaeddodd y Cadben Cadwgan Foel ar y Cymry, a deisyf arnyn' gymeryd Cenhinen yn ei helmau, mewn cae Cenin yr ydoedd yr ymladd; a phan edrychwyd o bob tu, oeddynt oll onid naw a'r hugain yn y lle hynny, ar Saeson mewn rhan arall, lle nad oedd yr ymladdfa, a hynn a fu'r achos i'r Cymry wisgo Cenhinen."
Llaw-ysgrifau IOLO MORGANWG, tu. dal. 65.

A thrwy y Cymry, nid y Saeson,
O dan Cadwgan ddewrwych galon,
Gwenynen Gwent! ond i chwi holi,
Yr ennillwyd ymladd Cressi.

Pan ar ei fyddin bu i'r gelyn
Wneuthur ymgyrch waedlyd gyndyn,
Y Saeson oedd o bell yn gweled
Yr ymladdfa waedlyd galed;
Gwenynen Gwent! heb le i helpu
Yn y frwydr fechgyn Cymry.

Y maes oedd lawn o genin gwylltion,
Myrddiynau ar fyrddiynau 'n dewion;
Er mwyn gwybod gwedi 'r ymdrin
Pa sawl Sais oedd yn ei fyddin,
Gwenynen Gwent! bu i Cadwgan
Roi gorchymyn fàl hwn allan.

"Boed i'r Cymry yn fy myddin
Yn eu helmau wisgo cenin,
Yn eu helmau uwch eu talcen;
Ond na wisged Sais geninen."
Gwenynen Gwent! ni chafwyd dano,
Ond naw ar hugain heb ei gwisgo.

Dyma 'r pryd dechreuwyd gwisgo
Y geninen gan y Cymro;

Yn Agincourt fe 'i gwisgwyd gwedi
Gan filwyr Cymru ar gais Harri.[1]
Gwenynen Gwent! er ymladd Cressi
Gwisgasom genin ar ŵyl Dewi.

Maes pais arfau Owen Tudur
Oedd wyrdd a gwŷn yn rhesi eglur;
Ac ar ei darian lydan helaeth,
Arwyddent wlad ei enedigaeth.
Gwenynen Gwent! O! cofied Cymro,
"Cas ni charo'r wlad a'i maco."

Gwisged Sais rosynau cochion
Yn blethedig a'r rhai gwynion;
Gwisged Gwyddel ei Feillionen,
A'r Ysgotiaid eu Hysgallen;
Gwenynen Gwent! y Cymro 'n llawen
Ar ŵyl Dewi wisg geninen.

Gwŷn a gwyrddlas yw 'r geninen,
Bonyn gwŷn, a gwerddlas ddailen;
Y bonyn gwŷn sydd arwydd purdeb,
A'r ddeilen werdd o anfarwoldeb;
Y Cymry, o byddant bur i'w gilydd,
A flodeuant yn dragywydd.

Cas gan elyn weled purdeb,
Cas gan elyn weled undeb;

[1] Harri V.

Purdeb fyddo 'n nghalon Cymro,
A chyda phurdeb undeb cryno,
Gwenynen Gwent! tra 'r undeb fyddo
Ni all gelyn drechu Cymro.

I bob Cymro mae 'r geninen
Yn ei law yn llyfyr darllen;
Er haf a gauaf, gwynt ac oerni,
Ei gwŷn fydd wŷn, a'i glas yn lesni;
Gwenynen Gwent! ac felly 'r Cymry,
Er bob tywydd fyddant Gymry.

## ALBERT TYWYSAWG CYMRU.

Un dydd ar godiad yr Haul,
Y Beirdd a welwyd ar fryn;
Pob un yn wylaw yn drist,
Yn gwedyd mewn geiriau fal hyn:

"Bu in' Dywysogion fil,
Gwyr dewrion oll mewn cad;
A'u henwau 'n anwyl y sydd,
Pob enw yn iaith ein gwlad!

Ond Albert, pa enw yw hwn?
Ac ef yw 'n Tywysawg yn awr;
Pe buasai 'i enw 'n Llywelyn,
Neu Arthur, fal hen Arthur gawr:—"

Ar hyn Cadeirfardd a ddaeth,
Cyhoeddi Eisteddfod ei waith;
O'i amgylch ymgasglai y Beirdd,
Mewn galar, a'u llygaid yn llaith.

Y Prif-fardd a wedai fal hyn :—
" Albert yw testun eich cân;
Ni chawsom gwell enw erioed,
Cymraeg, Cymraeg gloyw glân:

" Ystyr Al yw *rhagorawl* a *gwych*,
Boed hyn yn hysbys i fardd;
A Bert yw *berth*, gair Cymraeg,
Albert, sef gwr hynod hardd."

Y dagrau a'r galar, ar hyn,
A gilient yn llwyr ac yn lân;
Nid Arthur na Llywelyn, byth mwy;
Ond Albert yw testun eu cân.

## SUOGAN ALBERT TYWYSAWG CYMRU.

---

Cwsg! cwsg! O cwsg yn awr,
  Blentyn bach! Blentyn bach!
Ganwyd ti 'n Dywysawg mawr,
  O uchel âch!
Mae Cymru 'n llawen drwyddi
Am iti gael dy eni;
Mae 'r Awen a'r Delyn ar dân,
A thi Dywysawg! yw testun eu cân.

Pe dysgit, Blentyn mâd,
  Cyn bo hir, cyn bo hir,
I siarad yn iaith y wlad
  Hen Gymru dir!
Ennillet ti drwy hyny
Galonau 'r dewrion Gymry:
Allmanaeg yw *Al*, enw hardd,
A Bert yw *Berth*, gair Cymraeg, medd y
    Bardd.

Boed iti, Albert! gael
  Rhwydd-deb hynt! Rhwydd-deb hynt!
A chalon wrawl hael
  Màl Arthur gynt.
O cofia am Gymru dirion,
Y Beirdd a'r Telynorion:
Os gwnai di hyn, mawr fydd sôn
Am danat ti o hil Penmynydd Mon.

Cwsg! cwsg! O cwsg yn awr,
  Blentyn bach! Blentyn bach!
Ganwyd ti 'n Dywysawg mawr,
  O uchel âch!
Mae Cymru 'n llawen drwyddi
Am i ti gael dy eni;
Mae 'r Awen a'r Delyn ar dân,
A thi, Dywysawg! yw testun eu cân.

## BARDD NANHYFER.

---

Cenllysg yn gymmysg âg ôd—a gefais,
A gofid a thrallod;
Tra bo chwŷth ni all fod
Ar undyn fwy o ryndod.

---

Gwrandewch hanes bardd o Gymro,
O Blwyf 'Nhyfer yn swydd Benfro:—
Ar fore gwlawog troai allan
Ar ryw neges i Gilgerran.

Y gwynt oedd lym, yn chwythu 'n oerllyd,
A'r ffordd yn llawn o dyllau pydlyd;
Ni welodd neb erioed mewn unwlad,
Un ffordd mòr gas, ac mòr anwastad.

Marchogai 'r bardd ar farch bach buan,
Un gwrawl òd, o'r enw Bunyan;
Trechach march uwch pedair pedol
Ni welodd neb ar ffordd na heol.

Ar ol cyrhaedd Tre Cilgerran,
Trwy 'r gwynt a'r gwlaw a'r baw a'r cyfan;
Y gwlaw a droes yn eira-claerwyn,
A'r gwynt yn rhew-wynt caled cyndyn.

I'r Fforest âi i gael ymgeledd,
A'r gwynt-rhew 'n brathu penau 'i fysedd;

Ni welwyd bardd, er gweled llawer,
Mewn cyflwr gwaeth no bardd Nanhyfer.

Ar ol bwytta ac eistedd enyd,
Yn ol y mynai 'r bardd ddychwelyd,
Ond cyn iddo fyned nebpell
Oedd da cael lle 'n Mhlas y Bridell.

Da oedd iddo 'r noswaith hono
Fod y plas yn agos ato ;
Yr awyr oedd yn gogru 'r eira,
A'r gwynt a'i lluchiai draw ac yma.

Bore tranoeth, yn fore fore,
Mynai 'r bardd wynebu adre ;
Ofer hyn, nid oedd i'w weled,
Ond eira dwfn a rhew caled.

Yna 'r bardd heb fawr o gymhell,
Arosai eto 'n Mhlas y Bridell ;
Nid allai neb fod mwy croesawgar,
I'r bardd, no 'r gwr, a'i wreigdda hawddgar.

Y trydydd dydd a'r hin yn dadmer,
Y bardd âi ymaith i Nanhyfer ;
Ond ni feddyliodd yn y bore,
Y gwaith a gawsai 'n cyrhaedd adre.

Ymboeni 'n fawr wnaeth ef a Bunyan
I ddringo i fyny rhiw Cilgerran;
Am hanner milldir dda, o leia',
Y ffordd oedd lawn o luchfeydd eira.

Ond, megys llong o flaen ei hwyliau,
Ai Bunyan trwyddynt hyd ei 'sgwyddau;
A'r gwynt yn cario yr eira beunydd,
Eirwlaw oer ar ei adenydd.

Ar ol cefnu ffordd Cilgerran,
"Awn adre bellach, anwyl Bunyan,"
Ebai 'r bardd gan ddechreu lloni,
Gwedi cael ffordd Aberteifi.

Os oedd hi 'n ddrwg ar ffordd Cilgerran,
Yr oedd hi 'n waeth o hyny allan;
Y gwynt yn chwythu 'n gryfach gryfach,
A'r eira gwỳn yn ddyfnach ddyfnach.

A'r bardd yn dal ei ddwylaw 'n ddibaid,
Rhag i'r eirwlaw lenwi ei lygaid;
A'i wisg yn troi, er gofid iddo,
Megys llurig dew am dano;

Ymlaen âg ef, ar gefn Bunyan,
Màl gwr arfawg; ond yn fuan,
Wele 'r ddau, mewn trom ymladdfa;
Dros eu penau yn yr eira.

Os bu yn galed arnynt yma,
Nid oedd hyn ond un ymladdfa;
Yn lle UN ymladdwyd degau
Cyn gallael croesi PEN Y CRUGIAU.

Lluchfa, lluchfa, ydoedd beunydd
Ar draws y ffordd, fàl bryn neu fynydd;
Nid oedd gobaith gweled cartre,
Hyd nes cyrhaedd ALLT FELINDRE.

Ni ddaeth gwr yn iach o ryfel,
Na morwr chwaith i'r porthladd tawel,
Yn llawenach yn ei galon
No 'r bardd o ganol ei beryglon.

Bu yn wir mewn cyfyng-gynghor
Ar y nawfed dydd o CHWEFROR;
A'r flwyddyn oedd, màl gwypo 'r cywrain,
Un mil, wyth gant, a saith a deugain.

## Y GOG.

### CYFIEITHAD.

Hail, beauteous stranger of the wood,
Attendant on the spring;
Now heaven repairs thy rural seat,
And woods thy welcome sing.
* * * *

BRUCE, KINROSSHIRE.

BYDD lawen GOG! ti ddoist o bell,
Do, atom wanwyn eto,
Par 'toi a wnaeth y nefoedd fry
Wyrdd-lwyni it' breswylio.

Pan welom ni y llygad dydd,
Am danat pawb ddysgwyliant;
Ai wrth seren yn y nèn
Y gwyddost pan flodeuant?

Pan ddeui di i mewn i wlad,
Mae'r wlad yn llawn o flodau;
A'r adar trwy yr awyr faith,
Yn pyncian eu caniadau.
A'r plant wrth gasglu 'r blodau mân,
Mòr llawen ŷnt o'th weled!
A phan y clywont hwy dy lais,
Hwy geisiant dy ddynwared.

Ond rhyfedd yw pan weli di
Y pŷs yn teg flodeuo,
Ffoi a wnei i arall wlad,
Er mwyn cael gwanwyn yno.
Mewn gwanwyn byth y ceri fyw,
Ac nid mewn Haf, na Gauaf;
Ac o'r holl adar sydd yn bod,
Tydi raid fod ddedwyddaf.

Och fi! nad allwn, màl tydi,
Gael byw mewn Gwanwyn beunydd,
A chael esgyll, màl tydi,
I'th ddilyn trwy y gwledydd;
Cawn wedi weled llawer gwlad
Pan fyddai 'r wlad brydferthaf;
A'r holl drigolion, fawr a mân,
Yn llawenychu fwyaf.

## AMSER.

*Tempus edax rerum.*
OVID.

---

AMSER a ehed—a ehed—
E a ehed yn gynt,
No thòn y môr, er cynted rhed—
Yn wyllt o flaen y gwynt.

AMSER a ehed—a ehed
Yn gynt no 'r llong ar daith,
Pan yn gyflymaf hi a red
Dros donau 'r eigion llaith.

AMSER a ehed—a ehed—
Yn gynt no 'r eryr cryf,
Pan fo â'i esgyll braidd ar led,
Yn dyscyn ar ei bryf.

AMSER a ehed—mawr fy mraw—
No 'r fellten mae yn gynt,
Pan gwylltaf naid o'r Dwyrain draw
I'w gorllewynawl hynt.

Cyflymach AMSER nas gall iaith
Adrawdd gyflymed yw;
Ystyriwn bawb gan hyny 'n gwaith,
A'r modd y dylem fyw.

Cyflymed ydym ar ein taith
Ag AMSER—onid gwir?
Ein cartref Tragwyddoldeb maith,
Lle byddwn bawb cyn hir.

# Y BEDD.

CYFIEITHAD.

**Das Grab ist tief und stille.**

* * * VON SALIS.

Dwfn yw 'r bedd a dystaw,
O'i gylch cartrefa braw;
Mae 'n cuddiaw mewn dirgelwch
O'n gŵydd y byd a ddaw.

Ni chlywir cân yr adar
O fewn i ardal bedd;
Ni welir yno 'n tyfu
Y blodau hardd eu gwedd.

Y ferch a wyla 'n ofer
Ar ol ei chariad cu;
Ni ŵyr ei llef alarus
Y ffordd i'r beddrawd du.

Nid oes ar wyneb daiar
I neb gysuron pur;
O fewn y bedd ceir gorphwys
Oddiwrth y byd a'i gur.

Mae f' enaid am ehedeg
Lle mae trigfanau hedd;
A'm corff yn chwennych gorphwys
Am enyd yn y bedd.

## Y CYNAUAF.[1]

CAWSOM gnydau teg, toreithiawg,
I'n llawenhâu, a'n cadw 'n fyw:
A phwy, wrth edrych ar y meusydd,
Na wêl mòr dda wrth ddyn yw Duw?
Mae 'r medelwyr â'u crymanau,
Wrth yr ŷdau fore a nawn;
A phob ŷdlan, ac ysgubawr,
Fydd eleni eto yn llawn.

Yn lle gwlaw a gwynt ystormus,
Haul yn gwenu ar ein byd;
Yn lle gweithwyr gartre 'n segur,
Pawb yn brysur gyda 'r ŷd:
Yn lle newyn a drudaniaeth,
Llawnder a digonedd sydd;
Yn lle tristwch, gwaedd a galar,
Llawen floedd trwy gydawl dydd.

O mòr dirion, hael, trugarawg
Ydyw Duw, ein nefawl Dad;
Ond pwy sydd yn diolch iddo
Am ei aml roddion rhad?
Llawenhâu am gael digonedd,
Heb feddwl am yr hwn a'i rhoes,
Ydyw arfer gyffredinawl
Dynawl ryw o oes i oes.

[1] 1843.

Pa beth yw 'r achaws nad yw 'r Cymry
Oll yn dân yn moli Duw,
Am ei fendithion in' eleni
Ydau, ffrwythau, o bob rhyw?
GYMRY! GYMRY! rhoddwch heibiaw
Eich gelyniaeth naill i'r llall;
Ac addolwch Duw, fâl brodyr
Gan roi heibiaw gwaith y Fall.

Trwm fydd dy weled ti, REBECCAH![1]
Gyda 'th blant, bydd hyn cyn hir:
Yn ngafael cyfraith mewn cadwynau,
Yn gaethion mewn estronawl dir.
Yna y dechreui feddwl
Y drwg a wneist i'th wlad dy hun;
Ond rhy hwyr bydd edifaru,
A thi yn gaeth, yn wael dy lun.

## YR IAITH GYMRAEG.[2]

GELYN yr IAITH GYMRAEG, dywed im' Pa ham
Y mynit in' annghofiaw iaith ein mam?
Nid yw y Saes 'neg, ddyn, ond iaith er doe,
Tra mae 'r Gymraeg yn iaith er dyddiau NOE.

[1] Ysgrifenwyd yr uchod pan oedd y "'Beccas" yn terfysga yn y Deheudir.

[2] Yr uchod a gyfansoddwyd ar ol clywed Cyfaill o Esgobaith Llandaf, yn lladd ar yr Iaith Gymraeg, ac yn gweddiaw am ei difodiad. Y mae y Gân yn atebiad i'w wrthebion.

*Y Saes'naeg sydd yn well, mwy perffaith iaith ;*
Yn well ! mwy perffaith ! nid yw hyna 'n ffaith.

*Gwell yw 'r Iaith Saes'naeg noc un iaith o'r byd ;*
Taw ; geiriau benthyg ei geiriau bron i gyd.

*Saes'naeg, boneddig yw, yn haeddu clod ;*
A hi mor glytiawg, Sut gall hyny fod ?
Boneddig yw 'r Gymraeg ; a'i geiriau pob yr un,
Ynghyd â'u gwreiddiau, ŷnt eiddo 'r iaith ei hun.

*Ni chlywir yn Gymraeg ond swn Ch ac Ll ;*
*Melus yw 'r Saes'naeg ; ac mae 'n swniaw 'n well :*
O taw a'th glebar ; ond it' ddal ar lais,
A si yr S y sydd o hyd yn iaith y Sais ;
Cei weled yn y fan mai llawer gwell
No si si yr S yw sain yr Ch a'r Ll.

*Iaith y Sais, iaith prynu a gwerthu yw :*
Ni thwyllai Sais un Cymro yn ei fyw ;
E bryn, e werth, â'r Sais mewn unrhyw ffair.
Mae 'n deall iaith y Farchnad air am air.

*Y Cymry a'r Saeson gwell eu bod yn un :*
Hwy allant fod er cadw eu hiaith eu hun.

*Nid da bod dwyiaith mewn un wlad fal hon,*
Gad heibio 'r Saes'naeg, dysg Gymraeg yn llon.

*Mynwn pe Saeson fyddai 'r Cymry oll :*
Saeson fyddant pan êl eu hiaith ar goll.

*Daw 'r dydd y try y Cymry yn Saeson pur:*
Yn y dydd hwnw y try y mêl yn sur.

*Mae ymdrech mawr, yn wir mae llawer cais,*
*I gael gan Gymro ddysgu iaith y Sais.*
Er maint yr ymdrech, ac er maint y cais,
Cymro fydd Gymro eto; a Sais yn Sais.

*Mae rhai Esgobion am ddiffoddi 'r iaith;*
Ai yn Llandaf mae 'r Esgob wrth y gwaith?

*Ni waeth i chwi am bwy yr wyf fi 'n son;*
Gwaeth fydd i'r wlad o FYNWY deg i FON.
Os ni chaiff Cymro bregeth yn y Llan,
Yn iaith ei hun ymedy yn y fan;
A phwy nis gŵyr fod Cymro 'n caffael cam,
Pan ni phregethir iddo yn iaith ei fam?

*Gwyn fyd na chollai yr hen Gymry eu hiaith;*
Pe collent hi nid Cymry fyddent chwaith.

Ond penwn hyn o ddadl, mae yn hwyrhau,
Gan ofyn barn un arall uwch no ni ein dau;
Esgob TY DEWI, gwr o uchel ddawn,
Yn deall y Gymraeg yn gywir iawn;
Pregetha gartref; a phan y bo ar daith,
I'r Cymry uniaith yn eu hanwyl iaith;
Mae 'n wr o ddysg, yn deall llawer aeg,
Gofynwn iddo ef ei feddwl am Gymraeg.

Ni fyn efe yspeiliaw 'r Cymry hen
O'u hanwyl iaith: mae 'n ateb gyda gwên:—
"Eich iaith hen Gymry, denodd hi fy mryd;
"Iaith wreiddiawl yw, parhaed tra pery 'r byd.
"Eu hiaith a gadwant, medd Taliesin fardd,
"Eu Ner a folant: dywediadau hardd.
"Dywedaf innau yn ol ei eiriau ef,
"Ac arnoch Gymry, dyscyned bendith Nef.
"Eu hiaith a gadwant, er Saes'naeg a phob Aeg.;
"A'u Ner a folant yn yr iaith Gymraeg."

## DINYSTR SENACHERIB.

Cyfieithad o'r Saesoneg gan Lord Byron.

---

Mal blaidd ar y praidd y dyscynai yr Assyr
Mewn glaswisg ac aur y pelydrent ei filwyr,
Ydoedd llachar eu beri fàl ser ar y lli'
Yn y nos pan fo tonawg dwfn fôr Galili.

Màl gwyrdd-ddail yn nechreu yr Haf yn y goedwig,
Y llu oedd ar fachlud yr Haul yn weledig;
Màl dail yn y goedwig, pan Hydref ar ddiwedd,
Y llu ydoedd dranoeth mòr farw yn gorwedd.

Canys Angel Marwolaeth ar chwŷth a ehedai,
Ac yn wyneb y gelyn wrth fyned anadlai;
A llygaid y cysglyd yn angeu a oerent,
A byth eu calonau eu gwaith a anghofient.

Ac yno gorweddai y march ffroen agored,
Ond mwyach ni ffroenai o awydd i fyned;
Ac ei ewin tro olaf y llawr a orwynai,
Yn oer, fàl môr hiffiant ar graig y dyscynai.

Ac yno gorweddai y marchawg yn angau,
Ac y gwlith ar ei rudd, a rhwd ar ei arfau;
A dystaw pob pabell, dichwyf y baneri,
Y picellau hyd lawr, a'r cyrn yn dystewi.

A gweddwon gwlad Assyr yn uchel a udant,
Ac yn nheml Baal yr eulunod a dorant;
A chryfder yr Ethnig heb gleddyf yn hyrwydd
A doddai màl eira yn ngwyddfod yr Arglwydd.

## CYMREIGYDDION LLUNDAIN.

Y pennillion hyn a gyfansoddwyd pan etholodd y Gymdeithas yr Awdur yn aelawd gohebawl, ac o herwydd iddi bleidiaw gyda'g ef yn hytrach no chyda'r Parch. Bruce Knight, Canghellawr Llandaf, mewn perthynas i'r Llythyraeth Gymreig.

TELYN y Cymry, tan nawdd Cymreigyddion,
Fydd byw yn dragywydd, yn hen GYMRU dirion;
Ei hadlais a glywir ar finion afonydd
Tra adlais mewn craig,—tra awel ar fynydd.

PENNILLION y Cymry, tan nawdd Cymreigyddion,
A genir tra chanant dafodau dyniadon;
Lle gwelir y delyn rhwng dwylaw y Cymro
A'r tannau yn chwareu,—pennillion fydd yno.

IAITH yr hen Gymry, tan nawdd Cymreigyddion,
Fydd byw ar y tafawd, tra thafawd gan ddynion;
Darllenir Cymraeg yn ngwaith y Cymreigydd,
Tra llong ar y môr,—tra blodau ar feusydd.

ARFERION y Cymry, tan nawdd Cymreigyddion,
A gedwir yn barchus o barch i'r hen Frython;
Ni dderfydd y delyn tra Cariad a Galar,
Ni dderfydd Cymraeg nes darfod y ddaiar.

LLYTHYRAETH GYMREIG, tan nawdd Cymreigyddion,
A 'sodir ar sylfaen na syfla gelynion;
Gall KNIGHTIAID y byd ymgodi ac erlid,
Tan nawdd Cymreigyddion diogel fydd TEGID.

## Y TELYNAWR IEUANC.

Telynawr ieuanc, mab i Robert Hughes,[1] o'r Bala, pan ar fin ymadaw â'i fam yn Llundain, i fyned gyda'i dad drwy Loegr a Chymru, i ddangaws ei fedrusrwydd ar y delyn, yn y flwyddyn 1833, a gipiodd i fyny ei delyn, a chyfansoddodd yn ddisymwyth dôn alarus, cwynfanus, a thoddedig dros ben. Y llinellau canlynawl a gyfansoddwyd ar ol ei glywed yn ei chware ar ei delyn fach; ac am y mesur y mae yn cyfateb i'r dôn.

O, FY Mab! anwyl fab! paham mae dy ruddiau
Heddyw yn ddagrau? O! dywed paham;
Ni 'th welais o'r blaen mewn cymmaint gofidiau,
Yr achaws o'th flinder mynega i'th fam.

[1] Yr oedd Robert Hughes, â'i deulu, yn byw yn Llundain y pryd hwn. Dywedir i'r Telynawr ieuanc foddi yn America, trwy gwymp o hono allan o'r cwch pan ar un o'r llynau yno.

O Fy Mam ! anwyl fam ! yr wyf yn galaru
  Wrth feddwl ymadael â thi, O, fy mam !
Er mwyn chware 'r delyn trwy Loegr a Chymru ;
  Canys pwy fàl tydi a'm cadwa rhag cam ?

O, Fy Mab ! cymmer galon, mae genyt ti ddoniau
  I roi bywyd i'r delyn, er syndawd y wlad ;
Derbyniad a gai mewn trefydd a Llanau,
  Ac i'th gadw rhag cam cai nodded dy dad.
O, Fy Mam ! anwyl fam ! mae 'r delyn yn ateb,
  Er mwyned fy nhad, onid mwynach fy mam ?
Er hoffed ei wên pan fo lonaf ei wyneb,
  Eto pwy fàl tydi am cadwa rhag cam ?

## Y LLEUAD.

O Leuad arianaidd ! mòr deg yw dy lwybr,
Mòr loyw a harddwych wrth dramwy y wybr ;
Er hyny os creffir, er teced wyt, Dduwies !
E welir rhai brychau yn duaw dy fonwes.

Un modd os edrychir i mewn i ddynoliaeth,
E welir rhai beiau, rhyw anaf, ysywaeth ;
A ! rhaid yw cyfaddef na welir gwir burdeb
Yn nim, ac yn neb, ond yn Nuw Tragwyddoldeb.

## Y TAIR NWYD; LLAWENYDD, GALAR, A CHARIAD.

Y Dôn,—Y Dderwyn.

Pan fo pur Lawenydd yn llenwi fy mron,
Mae f 'ysbryd yn uchel, a'm calon yn llon ;
Mae 'r awel mòr bêr ; mae y meusydd mòr fwyn ;
A'r oriau yn ehedeg, màl niwl dros y twyn.

Am hyny, Gyfeillion! boem lawen, a doeth;
Dymunach Llawenydd, a gwell no 'r aur coeth:
A dedwydd y teulu lle mae hwn i'w gael,
Rhydd gysur i fynwes yr uchel a'r gwael.

Mòr groes ydyw Galar, mae hwn yn pruddhau
Fy ysbryd a'm calon, nas medraf fwynhâu
Un ddyddan gyfeillach, na gair yn ei bryd;
Na 'r awel na 'r meusydd; na dim yn y byd.
Am hyny, Gyfeillion! aed galar o'n bron,
Ac ynddi llettÿed Llawenydd yn llon;
A'r awel fydd bêr, ac y meusydd fydd mwyn,
A'r oriau a hedant, màl niwl dros y twyn.

I gynnal Llawenydd, doed Cariad â'i wên,
Ac yna mòr ddedwydd fydd ieuanc a hên;
Eu cartref hwy ydyw y fonwes lân bur;
Gadawant yr euawg; ni hoffant y sur.
Am hyny, Gyfeillion! dechreuwn mewn pryd
I garu ein gilydd yn gywir i gyd:
Ac yna mòr felus fydd oriau ein hoes,
Er hedeg yn gyflym hwy hedant heb loes.

## LLYN TEGID.

Awn i rodiaw at y Llyn,
Plant y Bala bach,
Lle y buom ni cyn hyn,
Plant y Bala bach.

Pereiddiach yw ei ddwr no gwin,
Ac iach yr Awel ar ei fin.
Ac O! mor hyfryd yw yr hin,
Plant y Bala bach.

Awn i rodiaw i'r Ro Wen,
Plant y Bala bach:
Tesawg yw yr Haul uwch ben,
Plant y Bala bach;
Mae 'r ŵyn yn chwareu ar y Bryn,
A'r gwartheg blith yn brithiaw 'r Llyn;
A llon holl anian gyda hyn,
Plant y Bala bach.

Awn i rodiaw i'r Cae Mawr,
Plant y Bala bach;
Ar y glaswellt dros un awr,
Plant y Bala bach;
Mae y briallu heddyw 'n hardd,
Felly y rhosyn yn yr ardd,
O! clywch bellach rybudd bardd;
Plant y Bala bach.

Ni chawn rodiaw yma 'n hir,
Plant y Bala bach;
Y mae hyn yn ddigon gwir,
Plant y Bala bach;
Bèr ein hoes,—a llawn o fraw,
Màl oes yr ŵyn yn chwareu draw;
Machluda 'r Haul,—a'r nos a ddaw,
Plant y Bala bach.

Bèr yw oes pob rhosyn gardd,
Plant y Bala bach;
Bèr yw oes briallu hardd,
Plant y Bala bach:
A bèr yw einioes pob dyn byw,
Er maint ei rwysg,—un marwawl yw,
Cyn hir fe fydd fàl rhosyn gwyw;
Plant y Bala bach.

## YMWELIAD Y BARDD.

I Dref y Bala yr aeth y Bardd
I edrych am ei Dad;
Aeth dros y tŷ, a thrwy yr ardd
Gan waeddi, "O fy Nhad!
Nid yw fy Nhad yn un rhyw fàn,
Os nad yw yn y bedd;"
Atebai careg iddo yn wàn,
Dywedai, "Yn y Bedd,!"

Pa le mae Gwen, fy anwyl Gwen,
Fy chwaer! Pa le 'r wyt ti?
Od wyt yn fyw, anwylaf Gwen,
O dywed, "Wele fi!"
Ni chlywaf lais, mawr yw fy mraw;
Wyt tithau yn y bedd?
Atebai 'r gareg oedd gerllaw,
Dywedai, "Yn y Bedd!"

Fy Mam! fy Mam! anwylaf Fam,
A roist im' faeth a mag;
O dywed im', fy Mam! paham
Mae 'r gadair hon yn wag?
Gwae fi, fy Mam! fy Mam! fy Mam!
Wyt tithau yn y bedd?
Eto 'r GAREG—ATEB am
Hatebai: "Yn y Bedd!"

Mae 'r tŷ yn dywyll drwyddo draw,
A'r ardd â'i blodau 'n wyw;
Na 'm Tad, na 'm Mam, na 'm chwaer gerllaw,
Ni welaf mwy yn fyw.
Maent hwy yn cysgu 'n min y Llyn[1]
Mewn gwely pridd eu Tri;
Mi wylaf dro wrth feddwl hyn,
Mae hiraeth arnaf fi.

## YMDDYDDANION FY MAM.[2]

HWN! fy Mam, pa edn yw?
O Hedydd yw,
Fy Mab, eheda fry i'r entrych draw,
Pob bore gyda 'r wawr, tan foli Duw
Yn felus iawn; ac yn ei ol ni ddaw
I'r ddaiar mwy, hyd nes gorpheno ei gân:
Gan ddysgu dyn mai ei ddyledswydd yw

[1] Llyn Tegid. Yn Monwent Llanycil y claddwyd hwynt.

[2] Gwel bennillion i'r un perwyl gan y diweddar Mrs. Hemans, a G. W. Doane. Mae yr uchod wedi ei gyfieithu i'r Seisnaeg gan y diweddar Barch. Ed. Davies, Kerry.

Pob bore, ar ol ymolchi yn lân,
Gwir wneuthur coffa am ddaioni Duw;
O fy Mab! tebyga di yr Hedydd ar ei daith,
Yn wresawg bydd mewn gweddi, cyn dechreu dim
[o'th waith.

Hwn fy Mam, pa edn yw?
Colomen fach,
Fy Mab, yn trydar wrthi ei hun,
Un fodd a'th nain, neu ti pryd nad wyt iach;
Colomen hoff! mòr hardd ei lliw a'i llun!
Mòr ffyddlawn idd ei chymhar hefyd yw!
Fy Mab, na thafla gareg at ei phen:
Mae mòr ddiniweid! O gad iddi fyw,
Na chlwyfa hi, goddefa hyn o sen.
O fy Mab, tebyga di y wâr Golomen hon,
O hyd mewn diniweidrwydd, a thawel fydd dy
[fron.

Hwn! fy Mam, pa edn yw?
O Alarch gwyn,
Fy Mab! o dòn i dòn yn nofiaw 'n hardd,
Nes cyrhaedd tawel ddwr o tan y bryn,
Lle cân ei farwnad uwch no 'r mwynaf fardd,
A llais melusach noc erioed o'r blaen:
Ac yna gorwedd ar ei wely llaith
I farw, ac ei esgyll gwŷn ar daen:
Màl hyn yr Alarch a derfyna ei daith:
O fy Mab! tebyga di yr Alarch. Yr un wedd
Mwy nefawl boed dy eiriau, wrth nesu at y bedd.

Pereiddiach yw ei ddwr no gwin,
Ac iach yr Awel ar ei fin.
Ac O! mor hyfryd yw yr hin,
Plant y Bala bach.

Awn i rodiaw i'r Ro Wen,
Plant y Bala bach:
Tesawg yw yr Haul uwch ben,
Plant y Bala bach;
Mae 'r ŵyn yn chwareu ar y Bryn,
A'r gwartheg blith yn brithiaw 'r Llyn;
A llon holl an[illegible]n gyda hyn,
Pl[illegible] [illegible]la bach.

Awn i rodi[illegible]
Plant [illegible]wr,
[illegible]laswellt [illegible]
[illegible]ant y Ba[illegible]
[illegible]heddy[illegible]

Ac megys tòn o flaen y gwynt
  Yn claddu 'r cysgod draw.
Daw angeu—daw, mae ar ei hŷnt,
  Yn fuan hefyd daw."
Rhy wir ei gair—anwylyd wèn !
  A gwèn mewn glendid moes,
Ei gyrfa buan ddaeth i ben,
  Bu farw 'n mlodau 'i hoes.

## MERCH IEUANC YN Y DARFODEDIGAETH

WRTH edrych ar ei delw hardd,
  Ei llygaid, ac ei gwên ;
Meddyliwn am flodeuyn gardd
  Cyn henaint oedd yn hen.
Ni welodd hi flynyddoedd gwae,
  Er hyny gwywa 'i gwedd ;
Màl y blodeuyn plygu y mae
  Cyn henaint tua 'r bedd.

Nid ŷnt ei llygaid hanner byw,
  Ac angeu ynddynt sydd ;
A gwrid ei grudd anwadal yw
  Yn symmud nos a dydd.
Ei thirion wên, Angeles wèn !
  A ddwg i gof y bardd
Am freilw [1] gwyw yn plygu ei ben
  Cyn llechu 'n llwch yr ardd.

[1] *Breilw*, rhos, rhosyn, *Lib. Land.* Gwel *Brail* yn Davies' *Welsh Botanology*.

Mȯr hoew flwyddau bach yn ol,
  Mȯr ysgafn ar ei throed ;
Ar ael y bryn, ar waelawd dôl,
  Yn hoewaf un o'i hoed :
Ond heddyw braidd y symmud gam
  Gan wayw megys cledd ;
Ei dewis waith, yn mraich ei mam,
  Yw dangaws man—ei Bedd.

## CAN I GARIAD.

### CYFIEITHAD O WAITH ANACREON.

Cariad unwaith aeth i chwarau
Ar ei daith i blith rhosyñau;
Ac yno 'r oedd heb wybod iddaw
Wenynen fach yn ddiwyd sugnaw.

Wrth arogli o hono' n hoyw
Y rhosyn hwn, a'r rhosyn acw ;
Y wenynen fach a bigai
Ben ei fys ; ac ymaith hedai.

A gwaeddodd yntau rhag ei cholyn,
A chan y poen ag oedd yn dilyn ;
At ei Fam y gwnai brysuraw,
A'r dagrau tros ei ruddiau 'n llifaw.

Gwaeddai, Mam! yr wyf yn marw:
Brathwyd fi yn arw arw,
Gan ryw sarff hedegawg felen;
A'i henw, meddynt, yw Gwenynen.

Ebai Gwener, os Gwenynen
A'th bigodd di mòr drwm, fy machgen!
Pa faint mwy y saethau llymion
A blenaist ti yn llawer calon?

## FY NGHARIAD.

Gwyw calon gan hiraeth.—Diar.

---

Mae 'Nghariad yn wèn ail gwynder y lili,
A'i llygaid yn llòn a llym fàl y peri;[1]
Gwridawg ei deurudd, màl breilw[2] ar gafod;
O seren! y bore yn nghanol rhianod.

Mae 'Nghariad yn serchus, ac er fy moddloni,
Rhydd fywyd i'r delyn, rhydd gân er fy lloni;
Mae 'n rhyfedd o gywrain, yn llawn o ragorion,
Yr unig a garaf yn mhlith daiarolion.

Mae 'Nghariad yn gywir, ei geiriau a gredaf,
Ei llaw ar ei dwyfron, a'i dagrau a gofiaf;
Mae meddwl am dani yn lloni fy nghalon,
O! ffynon dedwyddyd mewn byd o ofalon.

[1] Par, a spear. *Ar ladd lladd llachar ar bâr beri.* Gwalchmai.
[2] Breilw: rhosyn.

Mae 'Nghariad yn fedrus, gwybodaeth sydd ganddi,
A gweddus ymadrawdd, hoff meddwl am dani;
Mae 'n caru diwydrwydd, mae 'n fwyn ac yn hawddgar,
O ! enaid fy nghysur wrth dramwy y ddaiar.

## HIRAETH Y BARDD.

---

PA 'm mae 'm calon màl y dòn,
Mor aflonydd yw fy mron?
O! am ELEN, ELEN lon:
ELEN, ELEN wiw!

Meddwl am ei llais a'i gwedd
Ar fyr a'm doda yn y bedd:
Hebddi hi nid oes im' hedd,
ELEN, ELEN wiw!

Y GWYNT! adrodda di fy nghwyn
Yn ddystaw bach wrth ELEN fwyn;
Hi â mi a wnaiff gyd-ddwyn,
ELEN, ELEN wiw!

Y LLOER! pob nos mynega di
Fy mod yn ffyddlawn iddi hi,
Ac ar ei hol mai prudd wyf fi;
ELEN, ELEN wiw!

Gwaeddai, Mam
Brathwyd fi y
Gan ryw s
A'i hen wiw!

El yw cariad, trech no 'r bedd,
Er dwr, er tân, er miniawg gledd;
Byw o hyd a wna yn ngwedd
ELEN, ELEN wiw!

## GOFYNIAD Y BARDD.

Elen gu lawen! goleuad—siriawl,
Pen seren yr hollwlad;
Deg wŷryf moes dy gariad,
A'th law wèn, i fardd o'th wlad.

O ELEN fwyn! O ELEN hardd!
A wnai di wrandaw cwyn y Bardd,
Y sydd yn gofyn gair i ti,
A wyt ti yn fy ngharu i?

Mae llawer mab, a'i fron yn brudd
O'th achaws, ELEN! nos a dydd;
Mae un yn gofyn gair i ti,
A wyt ti yn fy ngharu i?

Clyw ocheneidiau mil a mwy,
A gwel galonau briw tan glwy';
Clyw fil yn gofyn gair i ti,
A wyt ti yn fy ngharu i?

rhod,

ngharu i:

. . . elli, Elen! er dy ddawn,
Iachâu ond un, a hyny 'n iawn,
Mae un yn gofyn gair i ti,
A wyt ti yn fy ngharu i?

## ATEB ELEN.

O! taw y Bardd, yn fuan taw,
Ti godaist yn fy mron i fraw,
Nid yw fy nghalon ddim yn ddur
I friwo 'r Mab a garo 'n bur.

Mi welais i, er peri poen,
Lawer blaidd mewn gwisgad oen,
A llawer mab, mewn llawer gwlad,
A'u bron yn llawn o dwyll a brad.

Da iawn gan Fardd yw canmawl merch,
Hoff iawn gan Fardd yw denu serch,
A gadael merch yw hoffder Bardd,
I wywo fàl blodeuyn gardd.

Ond gwna adduned bur i mi,
Dy fod ti yn fy ngharu i,
Ti gai fy llaw, a'm calon, clyw,
I tithau 'n bur tra fyddaf byw.

## HIRAETH-GAN.

Meddyliaf fi am Gymru lon,
Ei dynion a'i mynyddoedd;
Ac ni anghofiaf, nos na dydd,
Ei threfydd na 'i dyffrynoedd:
Meddyliaf hefyd am y fan,
Yn ymyl glan yr afon;
Lle mae hi 'n byw, anwylaf ferch,
A ddygodd serch fy nghalon.

Er na chaf weled mwy fy ngwlad,
Na mam, na thad, na chyfaill;
Gan mai fy nhynged i a fydd
I rodiaw gwledydd eraill:
Meddyliaf eto am y fan,
Yn ymyl glan yr afon;
Lle mae hi 'n byw, anwylaf ferch,
A ddygodd serch fy nghalon.

Ni byddaf ddedwydd, yn fy myw,
Mae 'm bron yn wyw gan hiraeth;
Wrth feddwl beunydd am fy ngwlad,
Hen wlad fy Ngenedigaeth;
Ac wrth feddwl am y fan
Yn ymyl glan yr afon;
Lle mae hi 'n byw, anwylaf ferch,
A ddygodd serch fy nghalon.

Ond os daw byth newidiad rhod,
A diwrnod i'm gael rhyddid;
Os pell y ffordd, os drwg yr hin,
Mi rodiaf fin LLYN TEGID;
Ac mi a chwiliaf am y fan,
Yn ymyl glan yr afon;
Lle mae hi 'n byw, anwylaf ferch,
A ddygodd serch fy nghalon.

## Y FERCH O'R DDOL.

---

PWY welaf ar y llechwedd draw
Yn rhodiaw 'n araf brudd,
A llyfryn bychan yn un llaw;
Llaw arall ar ei grudd?
A! dacw 'r màn lle cenais gynt
Yn iach i ferch o'r Ddol;
Pan o fy ngwlad yr eis im' hynt,
Heb obaith dod yn ol.

A'i gwir y gwelaf ar y bryn
Y fwyn gariadlawn ferch;
Yn darllen gwaith ei bardd fàl hyn,
Er ail-ennynu serch;
Gan sengi lle y sengwn i
Tro olaf ar y rhiw;
fy llygaid oll yn lli,
on yn friw?

## CI DEON BANGOR.

**Gerllaw Coedwig Deon Bangor Fawr yn Ngwynedd y mae cerfddelw ci anferth.**

Yn mhob gwlad ceidwad coedwig
Gwych, yw ci crych dewrwych dig;
O'i le edrych am ladron: hyd angeu
Dengys ddannedd gwynion,
Lladroniaid haid! o'r wlad hon
Ciliwch; neu gwae i 'ch calon.

## Y GOLOMEN A'R TEITHIWR.

Golomen fwyn! pa le mae 'th gymmar,
Gan dy fod môr drist yn trydar?

Y GOLOMEN.

Rhyw heliwr creulawn, marwol ergyd,
Ai ddryll a laddodd fy anwylyd.

Y TEITHIWR.

Paham na ffoi di i'r gweirgloddiau,
Rhag dygwydd iddo 'th saethu dithau?

Y GOLOMEN.

Ni allaf ffoi, hawdd ydyw peri
Mae fy nghalon drom ar dôri.

## Y SABBATH.

### CYFIEITHAD.

A gadwo 'r Sabbath dedwydd yw,
Caiff wythnos wrth ei fodd i fyw;
Aiff tranoeth at ei waith yn llon,
Heb feddwl prudd i flino 'i fron.

Ond camddefnyddiaw Sabbath Duw
Rhagflaenawr o ryw ddrygfyd yw;
Er cymmaint fydd yr elw 'n awr
Ymaith yr aiff fàl gwlith y wawr.

## Y GWIR.

Pe pallai natur, pe gwisgid haul mewn du
Y ser un wedd, a'r holl blanedau lu;
Y Gwir a safai 'n ffyrf mewn harddwch noeth,
Yn burdeb oll, màl aur puredig coeth.
Tros byth y saif yr un, yn ddigyfnewid un,
Y Gwir bydd gyfaill im', drych wyt o Dduw ei Hun.

## IDD (YN AWR BARCH.) DANIEL SILVAN EVANS,

*(Daniel Las,)* ar ei fynediad i Goleg Dewi Sant.

Llona byth o'th fodd yn Llanbedr: as gen
Ni chei; dysg yn hyfedr,
Ac am dy ddysg, a'th gymmedr,
Mawl Dduw, nid Pawl, ac nid Pedr;

A Llewylyn,[1] llew olwg,
A'i drem a'th gadwo rhag drwg.
Bydd isel, gochel bob gwŷd,
Boddia Dduw, a bydd ddiwyd.

## YR AWEN DRIST.

Dywed imi, fwynaf Awen,
Ar hyd y nos,
Beth yw 'r achos nad wyt lawen?
Ar hyd y nos,
Dyma 'r achos, anwyl Ioan,
O fy ngalar, a fy nghwynfan,
Aeth dy galon fach i rywfan
Ar hyd y nos.

Dywed imi, Awen fwynlan,
Ar hyd y nos.
Beth yw 'th feddwl di am rywfan,
Ar hyd y nos,
Monwes gynhes merch o Gymru
Yw y rhywfan, ni wiw gwadu,
Lle mae 'th galon fach yn nythu
Ar hyd y nos.

1 Y Dr. Llewelyn, Deon Tŷ Dewi, a Phrif Athraw Coleg Dewi Sant.

## CARN INGLI A THEGID.

CARN INGLI,[1] a THEGID, pumthegfed o Dachwedd,
A fynent gyfarfod â'u gilydd un waith ;
Cychwynodd CARN INGLI yn fore o gartref,
Marchogodd ei farch 'gan ddechreu ei daith ;

LLYN TEGID gwnai yntau y cwmwl yn gerbyd,
Ac ymaith yn fuan yr âi ar y gair ;
Am bump o'r prydnawn, fe glywid dywedyd,
Mae 'r ddau yn ciniawa draw yn LLWYN GWAIR.

## PENNILLION I ANERCH YR ARGLWYDDES HALL,
(Gwenynen Gwent.)

CANWN oll yn hollawl lawen,
Ar hyd y nos,
Ac yn gynhes i GWENYNEN ;
Ar hyd y nos,
Haedda gân gan Gymreigyddion,
Gyda bloedd o eigion calon ;
A sain telynau 'r telynorion :
Ar hyd y nos.

GWENYNEN GWENT yw 'r testun ini,
Ar hyd y nos,
Pwy na chana gerddi iddi,
Ar hyd y nos ?
Moeswch, Feirdd ! eich mel-ganiadau
A'r telynwyr eich telynau;

[1] Sef y Parch. J. Hughes, yr hwn a gymmerodd ei enw barddonawl oddi wrth y mynydd Carningli y sydd yn gyfagos i Llwyngwair, lle y dygwyddodd efe a'r Awdur giniawa Tachwedd 15, 1844.

A'r datgeiniaid! unwch chwithau
Ar hyd y nos.

Eto ganiad i'n Gwenynen,
Ar hyd y nos,
Gyda gwëad egni Awen;
Ar hyd y nos,
Hi yw mamaeth iaith ein tadau;—
Teilwng gwaeddi o'n calonau,
Gwenynen Gwent, a'r Eisteddfodau!
Ar hyd y nos.

## Y BRAWD CAREDIG.

Pan oeddwn mewn blinder heb gyfaill gerllaw,
A phobpeth yn gwgu o'm deutu;
Y byd ydoedd dywyll, màl cwmwl llawn gwlaw,
A phobpeth yn bygwth fy nrygu;
Ceis lythyr o bell o'r India ei hynt,
A'm gofid oddiwrthyf a giliai;
Yn blŷg yn y llythyr derbyniwn gan' punt,
A'mcalon o'm mewn a lesmeiriai.

Fy mrawd a'u danfonodd o'r India bell draw,
Pan oeddwn yn nghanol fy nhlodi;
Yn awr y mae pob un am siglo fy llaw,
A minnau yn pallu ei rhoddi.
Mi gofiaf fy mrawd a'r hen amser gynt,
A'r dydd pan âg ef ymadewais;
A chofiaf y llythyr yn cynnwys can' punt,
A'r dydd pan yr arian a rifais.

## CYFIEITHAD.

Oes neb yn meddu ar allu, dawn neu serch,
I wneuthur rheol ar ewyllys merch?
Os dywed *gwnaf*, hi *wneiff*, diogel yw;
Os dywed *na*, ni *wneiff* er un dyn byw.

## CYFIEITHAD.

Pe bawn mòr dal a'r nefoedd draw,
A gallael cuddiaw 'r môr â'm llaw:
Fy nhaldra yw 'r enaid mau ei hun,
Nid wrth ei gorff mae mesur dyn.

## BORE MIS EBRILL.

Aderyn bach a gân yn fwyn,
A pheraidd iawn o ganol llwyn;
Ond genyf fi nid oes llais cân,
Ond crŷg ysgrêch fàl cre y frân.

Aderyn bach yn llawen iawn
A gan o'r bore glas hyd nawn;
Ond genyf fi nid oes llais cân,
Ond crŷg ysgrêch fàl cre y frân.

Mae yr aderyn bach yn llon,
Heb wae na galar dan ei fron;
Am hyny cân ei gân mòr fwyn,
Mòr llon a llawen yn y llwyn.

Ond pe 'm calon fyddai yn iach,
Fàl calon yr aderyn bach;
Ymdrechwn ganu 'r fynyd hon,
Màl yr aderyn calon lon.

O'r holl adar sydd yn byw,
O'r ehedydd at y dryw;
O'r gigfran groch hyd at y frân,
Ni chlywaf un heb ganu ei gân.

Mae cân gan adar o bob rhyw,
O'r ehedydd at y dryw;
O'r gigfran groch hyd at y frân,
Ond genyf fi nid oes un gan.

## CAN O DDIOLCHGARWCH

**I'r diweddar George Bowen, Ysw., Llwyngwair, pan yr anrhegodd y Bardd â Threwlwch.**

---

Rhodd i'm dwylaw i a ddaeth,
Sef, rhodd a'm gwnaeth yn holliach;
Rhodd oedd hi mewn gwisg o blwm,
Ond odid plwm Llanfyrnach.[1]
Ond beth bynag am y plwm,
Yr oedd yn drwm o drewlwch;
Am hyn o rodd, Pa beth a wnaf?
Dangosaf ddiolchgarwch.

Gwel tu dal. 213.

Mae yr Awen wrth ei bodd,
Am gaffael rhodd môr haelwych;
Oblegid dodi 'r bardd o'i wae,
Dywedyd mae yn fynych ;—
"Yr ydoedd Bowen yn wr mwyn
I gofiaw trwyn y prydydd;
Ac am ei waith, yn ngwydd y wlad
Gwnaf iddo ganiad beunydd."

## CAN DRÔS UN MEWN CARIAD.

Mae 'n nghalon i yn glaf a gwàn,
O hiraeth mawr am Mary Ann;
Nis gallaf fi ond wylaw 'n chwerw,
A hithau draw yn Llwyn y Bedw.

Ni welais i mewn tref na Llan,
Un ferch môr deg a Mary Ann,
O'i chariad hi 'r wyf bron a marw,
A hithau draw yn Llwyn y Bedw.

Mae hi yn wir yn un môr hardd,
Uwch law darluniad awen bardd;
Gwŷn fyd y dydd, pan welaf hwnw,
Y daw hi 'n ol o Lwyn y Bedw.

## Y GWLADGARWR A'R MILWR.

Caiff y dyn gwladgar ei glod yn mhob gwlad,
Ac aml i ganiad i'w foli;
Lle bynag bo milwr, dyn gwrawl mewn câd,
Caiff hwnw yn wastad ei enwi.

Tra 'r byd, Owain Myfyr ! a Chymro i'w gael,
D 'enw fydd diwael ar dir ac ar ddwr :
Tra rhed afon Dyfrdwy, gwirionedd hyn yw,
Dy enw fydd byw, Owain Glyndwr.

## MARY BOWEN.

Bywyd hir i Mary Bowen,
Bywyd difyr, bywyd llawen ;
Bydded iddi gaffael hefyd
Llawnder byd, a gras, ac iechyd.

Bydded iddi gaffael dyddiau
Wrth ei bodd, yn llawn mwynderau ;
A bydded iddi gael priodi
Gyda gwr yn llawn daioni.

Boed duwioldeb iddi 'n harddwch,
A gwneuthur da ei mawr hyfrydwch ;
Boed iddi fendith y tylodion,
A chael ei pharchu gan y mawrion.

## ATEB MARY BOWEN.

Tegid, Athraw 'r Celfyddydau,
Doeth a helaeth yw dy ddoniau ;
Boed it' lwyddiant a bendithion
Yn dy waith yn dysgu dynion.

Rhwyd bysgotta gwna ei thaenu,
Pysgod mawrion ddelo iddi;
Megys Peder yr Apostol,
Traetha 'r gwir yn gall, yn wrol.

Llawn o saethau boed dy gawell,
Gloywon, llymion, O fy Nghyfaill!
Rhai 'n a deimler gan laweroedd
Trwy arddeliad cryf y nefoedd.

## AR FARWOLAETH MAM LEWIS WILLIAMS, YSW.

[ Bron Wnion, Dolgellau.

---

Nid hir, yn wir, yw dyddiau dyn i fyw,
Yr amser hwyaf, mal mynydyn yw;
O herwydd hyn, fy nghyfaill, gwed paham
Y byddi fwy na mwy mewn galar am dy fam?

Mewn oedran teg y rhoed hi yn ei harch,
Tan amdo gwŷn, heb neb yn fwy ei pharch;
Nid marw a wnaeth, ond huno 'n Iesu Grist,
Hi ddeffry eto, cred; Pa ham y byddi drist?

Dy fam, os gwelaist yn ngwaelodion bedd,
Ti, a'i gweli eto 'n nhrigfanau hedd;
Ei hysbryd hi a hedodd fry at Dduw
A'i marwawl gorff o'r bedd, a gyfyd eto 'n fyw.

## DYHUDDIANT W. B. GWYN, YSW., PILRHOTH,

**Yn Mhlwyf Llangain, ger Caerfyrddin, ar ol marwolaeth ei wraig.**

---

Ti, gollaist, Gwyn ! y golled fwyaf mawr
A ellit golli ar wyneb daiar lawr ;
Ti gollaist wraig rinweddawl, mam dy blant,
Un oedd o fil, ni dd 'wedaf un o gant.
E ellir canu hyn goruwch ei bedd,
Lle cwsg ei chorff yn dawel, ac mewn hedd :
"Duwioldeb oedd ei harddwch, ac ei rhan,
Un dduwiawl gartref, duwiawl yn mhob man,
Hi hoffai son am waith Calfaria fryn,
Mae 'r gwr a'r plant, yn dystion byw o hyn.
Màl gwraig, fàl mam, oedd dyner ìawn a mwyn ;
A'r tlawd, a'r gwan, gai ganddi wrandaw 'i gwyn.
Un ddiwyd oedd, gwybodus o bob gwaith ;
Pan segur oedd, nid segur ydoedd chwaith."

Ti gefaist golled, Gwyn ? ond na fydd drist,
Nid marw a wnaeth, ond hunaw 'n Iesu Grist.

## GEIRLYFR

**Y Parchedig Morris Williams, M.A. Amlwch.**

---

Llyfr yw, ac ôl llafurwaith,
Llyfr i'n hoes, lleufer ein hiaith ;
Llyfr ac ynddo bob llafuriaeth sy hen,
Un swn a'n tafodiaith.

## I ANN.

"*Ni chaiff Tegid fy ngweled i yn fy nillad bryntion*" ebai ANN, ac ymaith â hi.

A âi di ymaith, ferch fwyn lân,
Cyn i TEGID, wneuthur cân;
Os brwnt dy ddillad, gwael eu llun,
Nid felly ANN wyt ti dy hun.

## ABERGWEYN,[1] NEU SIOMEDIGAETH UN MEWN CARIAD.

ABERGWEYN meddyliais unwaith,
ABERGWEYN, meddyliais eilwaith,
Oedd o drefydd CYMRU 'n harddaf,
Ac i'm meddwl yr anwylaf.

Yno 'r oedd y ferch a garwn,
Yn ei chymdeithas hi ymhoffwn;
Byddai 'm llygaid yn sirioli
Wrth feddwl am y dydd priodi.

Ond fe 'm siomwyd, mawr fy siomiad,
Myfi 'n wr ni fynai 'm cariad,
Yn chwerw troes ei geiriau melus,
A'i golwg serchawg yn anserchus.

Gwedi hyn ar ben yr heol,
Edrychwn arni a gwyneb siriol,
Gan obeithio y cawswn innau
Olwg siriol ganddi hithau.

[1] Abergweyn, *vulgo* Abergwaun, neu Abergwaen, sef Fishguard, yn sir Penfro.

Yn lle hyn, cyn pen mynydyn
Ei golwg hi oedd golwg gelyn;
Ni fynnai hi im' edrych arni,
Rhagor tòri gair mwyn wrthi.

Abergwryn a garwn gynnau,
Tref y carwn ei heolau,
Sydd yn awr yn gwgu arnaf,
Yn nôd y ceryg màn y cerddaf.

Ni welaf mwyach harddwch arni,
Ni chaf mwyach fwyniant ynddi;
A hyn oblegid nad ennillais
Serch a chariad merch a gerais.

## GLAN Y CAFN.[1]

Mi ganaf fi, cyn profi dafn,
  Am Lan y Cafn heno;
Er mwyn im' gofiaw 'n ngwlad y Sais
  Y groesaw gefais yno.
Er teithiaw llawer tref a Llan,
  A gweled dyddan ddynion;
Glan y Cafn, lle bach hardd,
  A gar y Bardd o'i galon.

Mi ganaf eto, 'n ol cael dafn,
  Am Lan y Cafn ganiad;
Lle cefais groesaw ddyddiau hir,
  A phrofi cywir gariad:

[1] Glan y Cafn, swydd Fynwy, lle cafodd y Bardd groesaw a charedigrwydd mawr dros ben, ag ef yn afiach yn Eisteddfod y Fenni, 1840.

Yno cefais, fore a nawn,
Y bwrdd yn llawn danteithion,
Ac yno hefyd wely clyd,
Ac iechyd o'm clefydon.

I DANIEL DAVIS bid pob llwydd
I LYDIA rwydd ei chalon;
'Ac i MARG'ET bach eu merch,
Eu hunferch a'u gofalon.
Bydded iddynt gael o hyd
Dedwydd-fyd yn eu cartre',
Un twtiach tŷ, neu lanach gardd,
Ni welodd bardd yn unlle.

## GWAITH PLWM LLANFYRNACH.[1]

Bu mŵn LLANFYRNACH amser hir,
Yn gudd yn nhir y ddaiar;
Ond nis bydd felly ddim yn hwy,
Mae 'r byd yn fwy deallgar.
Yr elfen ddwr fu 'n rhwystr tŷn,
Er 's llawer blwyddyn bellach;

[1] Yn *Llanfyrnach* y mae hen waith plwm; ond oblegid y dwfr yn boddi y gwaith, ni chaed erioed nemawr, os dim, elw oddiwrtho. Rhai blynyddoedd yn ol, cafwyd yn y pwll ddau ddernyn bathawl yr hen Roegiaid; ac y mae yn draddodiad fod y Rhufeiniaid wedi bod yn gweithiaw y plwm hwn. Dydd Llun y Sulgwyn, Mai 27ain, 1844, rhoddwyd ciniaw i'r dwylaw oll, gan y diweddar Oliver Loyd, Ysw. o Aberteifi, yr hwn wedi iddo gymmeryd y gwaith mewn llaw, a lwyddodd, trwy wneuthur peiriant cyfaddas, i ddyspyddu y dwfr, ac ar yr achlysur hwnw, y cyfansoddwyd, yn ddifryder, sef yw hyny, yn ddifyfyr, y pennillion uchod.

Oliver Loyd a wnaeth ei ran
  I'w yru o Llanfyrnach.

Llwyddiant byth i'r mwnau plwm,
  Yn bennaf plwm Llanfyrnach;
Oliver Loyd boed ef yn llon,
  A thrwyddo 'n gyfoethocach.
Mawr yw y son am fŵn swydd Flint,
  Gwerth llawer punt yr wythnos:
Mae mwn Llanfyrnach llawer gwell,
  Medd pawb yn bell ac agos.

Ond i'r holl weithwyr yn gyttun,
  Pob un i weithiaw 'n gywir;
O Lanfyrnach, pob rhyw awr,
  Am gyfoeth mawr e glywir.
Wrth weithiaw 'n ddiwyd ac yn llon,
  Màl dynion gyda 'u gilydd;
Ceir clywed beunydd, o ben i ben,
  "Gwêl, fachgen, wyth'en newydd!"

Bydd son bellach, yn mhob rhyw iaith,
  Gan bawb am waith Llanfyrnach;
"Gwelwch fŵn Oliver Loyd,
  Ni chaed erioed mo 'i burach;
Rhaid ini anfon am y plwm,
  Mae 'n llawn, mae 'n drwm o arian."
Hyn fydd siarad pob tref a gwlad
  A'r farchnad, ac yn mhobman.

THOMAS MARSDEN[1] a haedda glod,
  A byw a bod mewn hawddfyd;
Mae wrth y gwaith yn fawr ei gur,
  Heb fod yn segur fynyd.
Mawr oedd clod hen FYRNACH Sant,[2]
  A chlod ei blant drwy 'r gwledydd:
Dy glod LLANFYRNACH! byth fo mwy,
  Trwy 'r plwm,—a thrwy dy grefydd.

## DANIEL DDU.[3]

BRIW yw fy mron gan frath a chur,
Uwchlaw brathiadau 'r llymaf ddur;
Wrth glywed fod y Bardd yn glaf:
Os marw a wneiff, pa beth a wnaf?

Trom yw fy nghalon, hyn a wn,
O glywed heddyw 'r newydd hwn:
"*Och!* DANIEL DDU, *dy frawd, sydd glaf*,"
Os marw a wneiff, pa beth a wnaf?

Gwan yw ei gorff gan boen dihedd,
Nychu y mae gan newid gwedd;

[1] Golygwr y gwaith.

[2] *Sant Byrnach*, yn hytrach *Brynach*: gwel *Rees' Welsh Saints*. Y mae llawer eglwys wedi ei chyflwynaw i Sant Brynach; ac yn mhlith ereill eglwys Nevern. *Nanhyfer* oedd yr enw: gwel Farwnad Trahaearn a Meilyr yn y *Myvyrian Archaiology*, cyf. i. tu dal. 192. Yn y plwyf hwn y mae Llun croes mewn craig, ac hefyd ffynon a phistyll, a elwir wrth yr enw Byrnach; megys, *Croes Byrnach*, *Ffynon a Phistyll Byrnach*.

[3] Ysgrifenwyd y llinellau uchod yn ol darllen llythyr a derbyniwyd Rhagfyr 16, 1838, o Lanbedr, yn cynnwys y geiriau athrist "Daniel Ddu is dangerously ill, and reduced to a skeleton."

O Daniel Ddu ! fy mrawd yn glaf !
Os marw a wneiff, pa beth a wnaf ?

Yr Awen fwyn, och'neidiai hon
Oddiar ei gorsedd yn ei fron ;
Cydgwyna â mi ei fod yn glaf ;
Os marw a wneiff, pa beth a wnaf ?

O Geredigion ! pwy a chwardd
Yn ol y newydd am dy fardd ?
Dy Ddaniel Ddu ! mae hwnw 'n glaf :
Os marw a wneiff pa beth a wnaf ?

Ein Duw ! estyna di ei oes,
Bydd iddo 'n feddyg dan ei loes ;
Iachâa y Bardd sy heddyw 'n glaf :
Os marw a wneiff, pa beth a wnaf ?

## MYFYRDAWD PLENTYN.

### CYFIEITHAD.

Mae 'r diwrnod prysur bron a darfod,
Ar nos dywell sydd yn dyfod ;
Gweddïaf Dduw im' diogelu
Tra bwyf yn y gwely 'n cysgu.

Mi wn na fum môr dda, môr ddiwyd,
Ag y dylaswn fod bob mynyd ;
Bum rhy ddysmal, ac yn rhy lawen,
Hyn beth nid yw yn gweddu ar fachgen.

Os gwelaf, ARGLWYDD, ddiwrnod arall,
Na byddwyf byw mỏr ddrwg, mỏr anghall;
Yr Hwn am adar a ofali,
Ar weddi plentyn a wrandewi.

## CLYCHAU YR EGLWYS.

### EFELYCHIAD.

CLYWCH, O clywch o NEVERN draw,
  Mor fwyn yw clychau 'r Eglwys,
Mor felus ar y ddol gerllaw
  Yw gwrandaw clych Paradwys.
Clywch, O clywch, mwyn yw eu llais
  Yn galw i addoli,
Awn ninnau oll i dŷ ein Duw,
  Da ydyw mawl a gweddi.

## CARIAD DUW.[1]

### DUW cariad yw.—1 IOAN, iv. 16.

PE bai 'r moroedd, a'r afonydd,
A'r ffynonydd o bob rhyw;

[1] "The following lines are said to have been written by a person commonly esteemed an *absolute idiot*. A ray from the sanctuary revealing the mercies of redemption, as well as of creation, must surely have gleamed across his darkness. :—

'Could we with ink the ocean fill,
Were the whole earth of parchment made,
Were every single stick a quill,
And every man a scribe by trade:
To write the love of GOD above,
Would drain the ocean dry.
Nor could the scroll contain the whole
Though stretch'd from sky to sky.'

*Essay on the habitual exercise of Love to God*, by J. J. Gurney," Note, page 31.

"A happiness that often madness hits on which reason and sanity could not so prosperously be delivered of." ANON.

Gyda'r llynoedd, gwlaw a gwlithoedd,
Oll yn inc o dduaf lliw ;
Pe bai llyfr maint y ddaiar,
Llawn dalenau gwynion mawr;
Pe bai pinau ysgrifenu
O rifedi gwellt y llawr ;
Pe bai pawb o feibion Adda
A fu ar y ddaiar las,
Yn 'sgrifenu ynddo 'n fedrus
Am faint cariad Duw a'i ras;
Pe cäent oll mewn llawn tawelwch
Oes Methuselah i fyw;
Pe pob moment llenwid dalen
Ganddynt bawb am gariad Duw :
Blinai 'r llaw ! darfyddai 'r pinau !
Y dalenau äent yn friw;
'Spyddai 'r inc cŷn gellid olrhain
Anfeidroldeb Cariad Duw.
Dros holl oesoedd tragwyddoldeb,
Nis gall holl Angelion Nef,
Mwy no dyn, er maint eu doniau
Gael pen draw i'w gariad Ef.

## Y FERCH DLAWD DDUWIAWL, A'R DI-DDUW VOLTAIRE.

**BRAS GYFIEITHAD.**

Yon Cottager, who weaves at her own door,
Pillow and bobbins all her little store,
Content tho' mean, and cheerful if not gay,
Shuffling her threads about the livelong day,
Just earns a scanty pittance. * *
COWPER.

---

Y FERCH sy dlawd, mewn bwthyn tlawd yn byw,
Ac eto yn ofni, ac yn caru DUW;
Yn gwëu bob dydd eirionwe,[1] oriau maith,
Clustog a phlethwëyll, ei thaclau at ei gwaith,
Yn foddlawn er yn dlawd; a'i thŷ yn wag a noeth,
Yn trin ei hedau, gan wëu yn gywrain ddoeth,
Ei hennill, bychan yw, er hyny 'n hwyr brydnawn,
Pan el i'w gwely, hi gwsg yn esmwyth iawn,
Heb ofni lleidr i dòri i mewn i'w thŷ,
A chariaw ymaith drysorau gwerthfawr cû.
Mae ganddi hi 'n ol ei sefyllfa wael,
Wybodaeth ddigon, a chalon wresawg hael.
Nid llawer iawn a ŵyr, ond gŵyr hi hyn,
Mai gorphwys mae ar IAWN Calfaria fryn
Am gael maddeuant rhad, a gwisg i'w henaid noeth,
Hyn beth ni ŵyr VOLTAIRE, yr Atheist poeth.
Ei thrysawr hi, i'w lloni ar ei thaith,
Yw BIBL DUW, a'i addewidion maith,
Dedwydded yw! er gwaeled yw ei gwisg,
VOLTAIRE! truaned yw er cymmaint yw ei ddysg.

[1] Eirionwe, a eilw y Sais yn *Lace*, sef Godreuwe, a ddefnyddia merched ar odrau addurn i'w capiau, ac i ereill wisgoedd.

Canmolir ef, efallai 'n hir dros oesoedd maith,
Pan yn ei fedd, a hyny am ei waith;
Pan na fydd neb yn cofiaw am y ferch,
Na 'i bwthyn tlawd, a roes ar Iesu ei serch.
Mil dedwyddach hi, pan roir ei chorff mewn arch,
Noc ef, Anffyddiwr, er maint ei glod a'i barch.

## PLANT.

Yr adar o'r unlliw a hedant i'r unlle.—Diar.

Plant fyddant eto byth yn blant,
Pe byddai gant o honynt;
Ac i ddywedyd air o wir,
Nid hawdd y dofir mo 'nynt.
Gwelodd plentyn res o blant
Yn y pant, yn chwarau;
Ac at y plant yn fawr ei chwant,
I'r pant y rhedodd yntau.

## Y GOLWG CYNTAF.

Yr olwg gynta 'r welais
Hyfrydaist, gwynfydaist f'ais.
Cywydd y Drindod.

Pan gyntaf y 'th welais, yn uniawn ti gipiaist
Fy nghalon o'm monwes i'th fonwes dy hun;
Adfera hi 'n ol, neu rho 'th galon am dani,
Mae dwy it' yn ormod, a minnau heb un,
Fy nghalon yn ol i mi oni roddi,
Neu 'th galon am dani; neu 'th serch am fy serch,
Marw a fyddaf yn llencyn digalon,
O herwydd creulonder lladrones o ferch.

## MAB FFYNON DRUDION, GER LLANWNDA, DYFED.

---

Yn iach, fy Nhad a'm Mam anwylaf,
Mae fy llong yn gweiddi am danaf;
Yn iach, fy Mrodyr a'm Chwiorydd,
Byddaf ar y cefn-for drenydd.

Morwr wyf yn morio i'r India,
I blith yr Indiaid i farchnata;
Os pell yw 'r ffordd, trwy ferwawg eigion,
Mordaith yw wrth fodd fy nghalon.

Pan eis o'r blaen, Duw oedd fy noddwr,
Mae Duw yn caru noddi morwr;
Ac fel o'r blaen, a Duw yn geidwad,
Dychwelaf eto yn ol i'm henwlad.

Mynych iawn ar frig y wendon,
Daw i'm meddwl Ffynon Drudion:
Ac yn fy nghwsg, ar gefn y weilgi,
Rhodio 'r wyf ar hyd y perci.

Digon ydyw hyn o'm hanes,
Ar y cefnfor mae fy neges;
Yn iach, yn iach, Paham yr oedaf?
Mae 'r llong a'r llanw 'n galw am danaf.

## I. U. Y.[1]

Gwnewch i mi glust-bib o Feidrum hyd Nevern,
A swniaf yr *u* nes ei chlywed yn *u*ffern;
Rhwng *i*, a rhwng *o*, bu i *u* gael ei geni,
Yn swniad yr *i* daw i'ch cof eich rhïeni.
Rhwng *i* a rhwng *o*, medd Ficar Llanrhïan,
Chwi ellwch gael allan swn *u* yn lled fuan;
A pharodd im' hefyd ddywedyd hyn i chwi,
Fod *y*, a bod *i*, a'u seiniau yn *sundry*.

## PENNILL

A gyfansoddwyd wrth edrych ar dri ardeb o blant y diweddar Sir J. J. Guest, Bart. M. P. a'r Arglwyddes Charlotte E. Guest.

Dedwydd Em yw diniweidrwydd,
Gwŷn eu byd a'u meddant hi!
Ei llun a dynwyd yn gyfarwydd,
A chywir iawn yn ngwedd y tri.
Yno bydded yn wir drefnus,
Yn Em loyw-hardd o hyd;
A Maria, Ivor, Gwladus,
Fyddant ddedwydd. Gwyn eu byd!

## FY NGHARIAD.

Gwelais gynnau ar wàr y dyffryn
Un yn chwareu ar ei thelyn;

[1] Ysgrifenodd Cyfaill o blwyf Meidrum, lythyr at yr Awdur, i ofyn iddo pa wahaniaeth swn neu sain, oedd rhwng I, U, Y, gan erchi cael atebiad i'w ofyniad mewn llythyr. Dywedai bod dadlu mawr gwedi bod rhyngddo ef a chyfaill ynghylch iawn seiniad y llythyrenau uchod. Ond yn gymmaint ag y gwyr pawb na ellir anfon seiniad unrhyw lythyren mewn llythyr, nac un math o swn, neu sain, arall mewn llythyr, rhoddwyd yr atebiad uchod i'r gofyniad.

Un rinweddawl a serchiadus, 3
Un fedrusaidd a gwybodus;
Un heb gilwg, dyner galon,
A'i chlod yn fawr gan ei chym'dogion;
Yn gwneyd pob lle yn ail i'r Ne',
Ei chartre yn enwedig: 8
Dyna 'r ferch a aeth a'm serch,
Un lawn swyn traserch ferch foneddig!

## CYMDEITHAS CYWEIRDEB ABERBANC.

---

Boed i gymdeithas Aberbanc
Gael parch pob merch, a pharch pob llanc:
A'i chyfreithiau yn cael mawrhäad
Gan bob teulu trwy ein gwlad. 4

Cymdeithas sydd yn Aberbanc
Er mawr lles merch, a mawr lles llanc;
Wrth ei chyfreithiau, os gwnant fyw,
Cânt glod gan ddyn, a pharch gan Duw. 8

Mae anniweirdeb yn mhob gwlad
Yn warth i'r fam, yn warth i'r tad;
A'r plentyn gordderch bychan gwan,
Os byw a fydd, gwarth fydd ei ran. 12

Tra fyddo byw, (can's gŵyr paham,)
Ni all gwir garu ei dad na 'i fam;
Pan enwir hwynt, yn lle mawrhäad,
Ammharch a rydd i'w fam a'i dad. 16

Plant glân Briodas parch a gânt,
Os parchu eu hunain hwy a wnant;
Anrhydedd ydynt hwy i'w gwlad,
A chysur mawr i'w mam a'u tad.

Merched Cymru, a thithau 'r llanc,
Parchwch gymdeithas Aberbanc:
Er mwyn eich hun, eich gwlad, a'ch Duw,
Mewn anniweirdeb na wnewch fyw.

## TREGWYNT.

Yn Abermawr mae 'r môr mewn dig
  Yn lluchiaw ceryg beunydd;
Ac yn eu chwydu hwynt o'i fol
  Yn llwythi ar ol eu gilydd.
Mae yn gormesu ar y tir,
  Ac os gadewir iddo,
Yn mhen can' mlynedd, neu yn gynt,
  Fe lwnc Tregwynt i'w ginio.

## CYMMERADWYAETH NODWEDDIAD.

Gwell cael tystiolaeth un gerllaw,
  No chael tystioliaeth gwr o bell;
Hyn yw fy meddwl i, a'm barn,
  Am hyny cais yr un sydd well.
Os ceir yn wir dystiolaeth dda,
  O'r lle mae 'r dyn ei hun yn byw,
No chael tystiolaeth un o bell,
  Mil gwell, a mwy boddhäawl yw.

## YR YWEN.

O Ywen werdd! a blenais i fy hun
Ger afon Isis, yn fy monwent wleb;[1]
Lle gwelir ar ol llifeiriant cryf
Y dwr yn toi y beddau. Cwyd dy frig
Idd y wybren frŷ; tafl dy gysgawd gwŷll
Gan noddi beddau, hyd nes del yr awr
Y clywir llef archangel Duw â llais
Udgorn nef, goruwch holl feddau y byd,
Yn galw i farn. Pren ydwyt ti
Yn haeddu parch yn mysg holl brenau y maes;
Na thorer di i lawr gan law neb gwr,
Ond byth chwareuant dy gangenau tirf
Yn y tymhestlawg wynt; ac arno gwên.

Na wywed byth dy ddail; ond byddant fàl
Yn awr yn iraidd byth. Yr ydwyt ti
Yn mhlith y meirw yn dy wyrddlesni teg
Yn arwydd anfarwoldeb. Arnat ti
Pan syllo dyn wrth araf rodiaw rhwng
Y beddau oll pâr iddo gofiaw ei
Gartref wlad; lle tyf pren y bywyd wrth
Ffrwd o ddyfroedd dysglaer yn Ngwynfa Duw
Màl dywed y Dadguddiad. * *

[1] Sef monwent St. Thomas, Rhydychain.

## MARTHA OWEN.

**Gair o ddiolch am bâr o fenyg.**

MARTHA OWEN, fwyn a pharchus,
Eto MARTHA wir drafferthus;
Mae fy nghalon byth yn llawen
Pan glywaf sôn am MARTHA OWEN.

MARTHA OWEN, pan y'th welais,
A ni yn blant, myfi a'th gerais
Pan yr oeddit, anwyl MARTHA,
Yn yr ysgol yn y BALA.

Rhaid anghofio pob gwrthwyneb,
Rhaid anghofio cripio 'r gwyneb;
Cripio 'r gwyneb a wnai bachgen,
Pan yn mreichiau MARTHA OWEN.

Rhaid anghofio 'r dagrau heilltion
A redent dros dy fochau cochion:
Pan oedd JOHN, yn llawn cynddaredd,
Yn cripio 'th wyneb â'i ewinedd.

Tyner iawn oedd oedran MARTHA
Pan yn ysgol tref y BALA;
A thyner iawn fy oedran innau,
Pan y'm cipiet rhwng dy freichiau.

Er dy ddigio mwy noc unwaith,
Trwy fy mod yn fachgen diffaith,
It' gofynaf, MARTHA fwyngu,
Onid oeddit yn fy ngharu?

Ceraist fi a'th gariad cyntaf,
Do, a'th gariad pur boreuaf.
Y mae 'r cariad hwnw 'n para
Yn dy fonwes eto, MARTHA.

Gyraist imi, o dy gariad,
Bâr o fenyg o'th wneuthuriad,
Minnau 'n wir a'u gwisgaf beunydd
Nes cael genyt fenyg newydd.

# BEDD-ARGRAFFIADAU.

## BEDD-ARGRAFF DANIEL DDU,

**Yn Monwent Pencareg, ger Llanbedr Pont Stephan.**

DONIAWL oedd ef, ein DANIEL DDU; heb ryfyg
Un o Brif-feirdd CYMRU:
Yn y bedd mae 'r Bardd a fu,
Yn y llwch yma 'n llechu. 4

## BEDD-ARGRAFF Y DR. RICHARD DAVIES,

**Esgob Tŷ Dewi.[1]**

ESGOB oedd EF o ddysg bur, a Duwiol
A diwyd mewn llafur;
Gwelir byth, tra 'r YSGRYTHYR,
Ol gwiw o'i ofal a'i gur. 4

## BEDD-ARGRAFF TELYNAWR DUWIOL O LANOFOR.

MOR ddedwydd y byddai wrth chware ei delyn;
Ei ofid a'i alar a ffŏent yn llwyr;
Mae telyn mewn teulu yn hyfryd offeryn,
Llawenydd a chysur a rydd fore a hwyr. 4

[1] Bu farw y Dr. Richard Davies, yn y flwyddyn 1581, ac a gladdwyd yn Eglwys Abergwili. Yn y flwyddyn 1849 gosodwyd ar fur y ganghell, uwch ben ei fedd, Gwyddfaen hardd a drudfawr er coffadwriaeth parchus am dano, gan y gwir Barchedig yr Esgob Connop Thirwall, D. D., ac ar y gwyddfaen mae y Bedd-argraff uchod.

Os telyn ddaiarol a gafodd ef yma,
Wrth farw fe gafodd nef delyn, gwiw fraint;
I Dduw ac i'r Oen, â bloedd Haleluiah,
Mae heddyw 'n cydganu âg engyl a saint.

## BEDD-ARGRAFF HEN GYMRO HAEL,

**Cyfaill tlodion ei gymmydogaeth.**

Oedd i dlawd yn frawd cywir fron—iddynt
Bu 'n noddwr mwyn tirion;
E ddygai iddynt ddigon
O fwyd, wr llwyd! gwyneb llon.

## BEDD-ARGRAFF MR. W. JONES,

**Telynwr yn Llys Llanofor.**

Ynom y gwnaethai ennyn,—olynol
Lawenydd diderfyn;
Neud alaw mwyn ei delyn
Oedd mawl i Dduw; mêl i ddyn!

## BEDD-ARGRAFF LE GONIDEC.[1]

Dy enw Le Gonidec, a daenir mwy
Mewn mawl am danat sonir;
Trwy 'th waith maith, tra môr, tra thir,
Iaith fâd dy wlad a ledir.

[1] Awdur gramadeg a chyfieithydd y Testament Newydd i'r Llydaweg.

### ARALL.

COLOFN LE GONIDEC a welwch!—un
Oedd lawn o wladgarwch;
Athraw gwlad LLYDAW mewn llwch
Ei fedd yma canfyddwch.

### ARALL.

GEIRIADUR mâd a Gramadeg,—a'r BIBL
I'r bobl yn Llydaweg,
Ydynt waith LE GONIDEC,
A'i Gofodail, adail deg.

## BEDD-ARGRAFF HANBURY S. HALL, YSW.[1]

MAL blodeuyn teg mewn gardd,
"Yn y gwanwyn oll yn hardd,"
Ond cyn yr haf, mewn mynyd awr,
A llaw yn cael ei dori i lawr;
Efelly HANBURY, diwrnod du,
Gobaith ei rieni cu;
Yn ngwawr ei oes, gan nychdawd mawr,
Buan torwyd yntau i lawr;
Ond angau a'i cymmerodd ef
I'w adblanu yn y nef.

[1] Mab Syr Benjamin a'r Arglwyddes Hall, Llanofor, yr hwn a fu farw Chwefror 11, 1845, yn y 19eg flwyddyn o'i oed.

## BEDD-ARGRAFF Y PARCHEDIG ENOCH THOMAS,

**Periglawr Morfil, Swydd Penfro.**

Pen gyrfa ddaiarawl y bugail,
Pen gyrfa ei braidd yr un wedd,
Gwedi gorphen eu gwaith, ac eu llafur,
Yn gorphwys yn ngwaelawd y bedd.
Ond eto nid bythawl gorweddant
Yn ngwaelawd eu beddau, gwir yw;
Daw dydd yr agorir y beddau,
A hwythau ail welir yn fyw.

## DIWEDD PAWB.

CYFIEITHAD.

Nid yw o werth yn awr i ti,
Pa fodd y'th barchwyd yn y byd,
Neu pwy dy deulu uchel âch,
Neu pwy roes it' fagwraeth glŷd;
O dy gorff, yn awr nid oes
Ond tẁr o lwch. Hyn oll y sydd
O'th unwaith gorff. Mae oll yn llwch
Ac màl yr wyt, pob balchddyn fydd.

## BEDD-ARGRAFF AR UN A FU FARW YN DDISYFED.

Aeth i'w fedd yn sydyn iawn,
Màl dyn i'w wely dydd prydnhawn;
Ac yn ei wely gwaelod bedd
Caiff gysgu 'n dawel, ac mewn hedd.

Ond gwedi hepian ennyd awr,
Cwyd yn fore, gyda 'r wawr,
Y dydd pan ddaw y meirw 'n fyw,
Wrth floedd a llef Arch-angel Duw.

## BEDD-ARGRAFF.

Ymorol ni wiw am Mari, prudd wyf,
Y pridd sy drosti ;
Wele 'r fan wylo 'r wyf fi,
Ar ei hôl ddagrau heli.
Pwyllaf cyn rhoi cam pellach
O'r bedd mi glywaf air bach :
"Bore a hwyr bydd barod
Daw dwthwn y doi dithau i'r beddrod,
Cais ffydd fywiol nefol nôd,
Yn Iesu cyn dod isod."

## BEDD-ARGRAFF TAIR CHWAER.[1]

Yma gorwedd tair chwiorydd
Gyda 'u gilydd yn y bedd ;
Ann a Jane a Ruth anwylaf,
Tri blodeuyn hardd eu gwedd.
Mae 'n dor-calon i rieni
Golli eu plant o un i un,
Duw a'u rhoes, ac Ef a'u piodd ;
Ac Ef a'u galwodd ato ei Hun.

[1] Merched Capt. James, Aberteifi.

## BEDD-ARGRAFF JANE THOMAS,[1]

**Penyrallt, Abergwili.**

JANE yw 'r gyntaf un a gladdwyd
Yn y fonwent, o'r oes hon,
Os claddwyd ynddi ryw oes arall
Bu oesoedd maith yn fonwent lon;
Heb lais galar ynddi i glywed,
Heb un deigr ar y wedd,
Hyd nes claddwyd JANE anwylaf
Pan ei dodwyd yn y bedd.

[1] Claddwyd Jane Thomas yn monwent Llanhfiangel-uwch-gwili, y cyntaf un a gladdwyd yno am rai can-rifoedd yn ol tŷb y gymmydogaeth.

# EMYNAU.

## BUGEILIAID BETHLEHEM.

Bugeiliaid Bethle'm wrth eu gwaith,
Lliw nos yn llu.—
'Ngwylied eu dadellau maith
O ddefaid gwynion gnu,
A welent ryw oleuni mawr,
Mwy no dysgleirdeb bore wawr,
O'r nefoedd yn pelydru i lawr
Nes troi yn olau 'r tywyll du.

Ar hyn hwy glywent angel Duw,
A chawsant fraw ;
Yn mwyn lefaru yn eu clyw,
Yn eglur, a gerllaw ;
" Nac ofnwch fi," atebai Ef,
" Y bore hwn yn Methle'm dref
Y ganwyd i chwi Frenin nef,
Ewch ! chwi ai cewch mewn peresb
[draw.".

A chyda 'r angel, Wele 'n fyw
Yn entrych nef,
Angelion fyrdd yn moli Duw
Yn llon â llafar lef.

Testun eu cân, hyfryted yw,
Sef Duw; nef; daiar; dynawl ryw:
Cydgan eu cerdd, Bechadur! clyw;
"Ganwyd Iesu yn Methle'm dref."

## BETHLEHEM.

Am Bethlehem mae sôn
O oes i oes o hyd,
Am eni ynddi hi
Iachawdwr mawr y byd;
Fe glywyd cân Angelion Nef
Goruwch y man lle ganwyd Ef.

Er crëedigaeth byd
Ni chlywyd tebyg gân
A glywyd y pryd hwn
Gan yr Angelion glân;
Cyfarchent Nef a dynawl ryw,
Ar enedigaeth gwir Fab Duw.

## DYDD NADOLIG.

Daeth Angelion in' â newydd,
Newydd da, llawenydd mawr;
Fod in' Geidwad wedi ei eni
Er achubiaeth llwch y llawr.
Oll ynghyd, o un fryd,
Canwn fawl i Brynwr byd.

## MAWL.

O MOLWN DDUW ar ddiwedd dydd
Am gariad, gobaith, ac am ffydd;
Os gwnawn yn ol ei eiriau EF,
Ein tywys gwnaiff o'r byd i'r Nef.

## DYDD GWENER Y CROGLITH.

GWELWCH IESU yn hoeliedig,
Draed a dwylaw ar y groes,
Rhwng dau leidr yn grogedig,
Yn dyoddef angeu loes,
Pa fath olwg, &c.
A ganfyddwch yr awrhon?

Chwi a welwch, os edrychwch,
Ein Mechnïydd, gwir FAB DUW,
Yn rhoi iawn dros ein pechodau;
Ac yn marw i'n gael byw;
Diolch iddo, &c.
Byth am farw trosom ni.

## DYDD GWENER Y CROGLITH.

Psalm xxii.

1 FY NUW, fy ngadael, Pa 'm y gwnaist,
A mi 'n ofidus iawn!
Yn bell oddiwrthyf sefi DI
Nos, bore, a phrydnhawn.

2 Ar hyd y dydd, cwyno yr wyf,
Ond Ti ni chlywi ddim ;
A thrwy y nos, er maint fy nghri,
Dy nodded ni ddaw im'.

7 Edrych y mae pob un a'm gwêl,
Ar fy ngofidiau hyn ;
Ysgydwant ben, gwatwarant Fi,
Gan graffu arna'i 'n syn.

8 Dywedant wrthyf yn eu câs,
Yn Nuw gobeithiodd Ef ;
Ond Duw i'w achub Ef ni ddaw,
Ni wrendy ar ei lef.

9 Fy lladd a wnant, a rhanant hwy
Fy nillad yn eu mŷsg ;
Bwriant goelbren i wybod pwy
A gaiff feddiannu 'm gwisg.

## DYDD Y PASC.

Byth fendigedig fyddo 'r dydd,
Y daeth ein Harglwydd Iesu 'n rhydd
O afael angeu cryf a'r bedd :
Fe gafodd fuddugoliaeth lawn,
Cafodd Cyfiawnder hollawl Iawn,
Yn Nghrist mae Duw a dyn mewn hedd.

## DYDD Y PASC.

CODODD IESU GRIST o'r bedd, Haleluiah!
Cadwn heddyw sanctaidd wledd; Haleluiah!
Llawenhawn! ein cân a fydd, Haleluiah!
"Crist o rwymau'r bedd yn rhydd." Haleluiah! 4

Cân o fawl canasom ni, Haleluiah!
Am angeu 'r groes ar Galfari; Haleluiah!
Heddyw canwn yn ein gwledd, Haleluiah!
Am fuddugoliaeth ar y bedd. Haleluiah! 8

Ni allwn heddyw fod yn drist, Haleluiah!
Adgyfododd IESU GRIST: Haleluiah!
Uffern gwedi ei maeddu sydd, Haleluiah!
Ac angeu wedi colli 'r dydd. Haleluiah! 12

## YR EFANGYLYDD.

Mor weddaidd ar y mynyddoedd yw traed yr hwn sydd yn efangylu, yn cyhoeddi heddwch. ESAY lii. 7.

O ARGLWYDD DDUW, ein IOR, a'n nerth,
Môr brydferth yn ein bröydd,
Wrth gyhoeddi geiriau 'r nef,
Yw traed yr efangylydd. 4
Cyhoeddi mae ef newydd da,
I wneyd plant ADDA 'n ddedwydd,
A'r hwn a gredo 'r newydd da,
Byw fydd ef yn dragywydd. 8

## ESCYNIAD CRIST.

Escynodd Iesu Grist i'r nef, Haleluiah!
Ennillodd fuddugoliaeth gref; Haleluiah!
Mae 'n Harchoffeiriad mawr yn fyw, Haleluiah!
Yn eistedd ar ddeheulaw Duw. Haleluiah!

## Y PRYNWR.

O lafur ei enaid y gwel, ac y diwellir. Esay liii. 2.

O lafur ei enaid y gwel,
Diwellir ein Prynwr a'n Brawd,
Gogoniant tragwyddawl a gaiff,
Am ddyoddef o hono 'n y cnawd;
Llawenydd diderfyn a fydd,
Gorfoledd anfeidrawl ei faint,
Dadseinia trigfanau y nef,
Gan beraidd ganiadau y saint.

## PRYNEDIGAETH.

Ufydd-dawd Iesu Grist ein Brawd,
A'i ddyoddefiadau maith,
A wnaethant in' gyfiawnder pur,
Nefolaidd dwyfol waith.

Dysgleiriach noc yr haul uwch ben,
Yn ei gyfiawnder Ef,
Y gwelir lluoedd dedwydd hardd
O fewn i deyrnas nef.

## YR ARCHOFFEIRIAD.

Gan fod i ni Archoffeiriad mawr, yr Hwn a aeth i'r nefoedd, Iesu Mab Duw, glynwn wrth ein proffes. Heb. iv. 14.

---

Mae ini Archoffeiriad mawr,
Yn eiriol yn y nef;
Ateb i'n gweddïau a gawn
Trwy ei eiriolaeth Ef.

Mewn hyder awn at orsedd gras,
Mewn ffydd o flaen ein Duw;
A glynwn wrth ein proffes mwy,
Mae 'r Iesu eto 'n fyw.

## GWEDDI.

---

Dyfod atat gan gyffesu
Fy mhechodau 'r wyf, fy Nuw!
Maddeu imi, er mwyn Iesu,
Fy nghamweddau o bob rhyw.
Maddeuant, Arglwydd,
Hyn ofynaf bellach mwy.

Mewn trugaredd, mewn tosturi,
Arnaf edrych, Arglwydd mawr!
Gwel fy ngwaeledd, clyw fy ngweddi;
Dangos im' ddaioni 'n awr:
Fy enaid wrthyt
A ddysgwylia am gael gras.

## LLEDAENIAD YR EFENGYL.

Holl dylwythau 'r ddaiar faith,
O bob rhyw wlad, a phob rhyw iaith,
A glywant bawb yn iaith ei hun,
Am iachawdwriaeth Duw i ddyn.

## LLEDAENIAD YR EFENGYL.

Aed Efengyl trwy eithafoedd
A phellderoedd daiar lawr,
A'r byd fyddo, màl y nefoedd,
Oll yn un llawenydd mawr;
Doed yr Iuddew, 'r Twrc, a'r Pagan,
Iesu! i gredu ynot Ti;
Màl y clywir trwy 'r holl ddaiar
Pawb â'u cân am Galfari.

## YR EFENGYL.

Mae hyfryd lais efengyl fwyn
Yn canmawl gwerth yr Iawn,
Ac yn cyhoeddi 'r newydd da,
Bod iachawdwriaeth lawn.

O! clyw, bechadur, clyw ei llais,
Dy wahawdd mae i'r nef;
Trwy beri iti droi at Grist
A chredu ynddo Ef.

## Y BABELL BRIDD.

"I feel my earthly tabernacle getting so fragile, that I am scarcely fit for anything."—*Dyfyniad o lythyr cyfaill.*

---

Fy mhabell bridd a syrth i lawr,
I lawr i'r llwch y dyscyn hi ;
Pa le 'r pryd hwnw, f'enaid byw !
Pa le 'r pryd hwnw byddi di ?
Pan rhoir fy nghorff yn ngwaelod bedd,
Myfi fy hun, er hyn fydd byw :
Fy nghorff nid yw ond pabell im',
Myfi fy hun yr enaid yw.

Byd mawr tragwyddawl sydd o'm blaen,
Gwae a dedwyddwch ynddo sydd :
Caf ynddo fyw. Os byw mewn gwae
Môr anoddefawl fywyd fydd.
Ond credu 'r wyf air Iesu Grist,
Y caf ddedwyddwch trwyddo Ef ;
A byw 'n y byd tragwyddawl draw,
O gyrhaedd gwae, yn nheyrnas nef.

## Y BABELL BRIDD.

---

Malurio i'r bedd y mae y babell bridd,
Malurio i'r bedd, i'r bedd, o ddydd i ddydd ;
Ond ail-gyfodir hi mewn arall wedd,
A Christ yw 'r Hwn a'i cyfyd hi o'r bedd.

## GWEDDI AM ADFERIAD HEDDWCH CYD-RHWNG CRISTIONOGION.

Arglwydd, adfer i ni heddwch
Yn lle ymryson, llid a chas;
Boed gelynion y gwirionedd
Gael eu darostwng gan dy ras;
Pâr fod cariad rhwng Crist'nogion,
A brawdoldeb heb un gwg,
Darfydded cynhen, ac ymryson,
Dygasedd a phob bwriad drwg.

Mae dy air yn air o heddwch,
Ond yn ein llaw bu 'n finiawg gledd,
Brawd yn erbyn brawd yn ymladd,
O Arglwydd Dduw adfera hedd;
Pâr fod heddwch rhwng eglwysi,
Pâr fod brawd yn caru ei frawd;
Os oes rhyfel, boed in' ymladd,
Yn erbyn cythraul, byd a chnawd.

## Y PECHADUR.

Paham bechadur, p 'am o hyd
Ar fyw 'n annuwiol mae dy fryd?
Heb ofni syrthio i dy fedd,
Cyn meddu cymmod Duw na 'i hedd.

Ai am ddyfyrwch gwag y byd,
Y colli di dy enaid drud?
Ai gwell yw pôenau uffern drist
No chaffael rhan yn Iesu Grist?

Clyw, adyn, yr Efengyl wiw,
A gwel anfeidrol gariad Duw;
Er maint yw 'th ofid ti a'th glwy,'
Mae yma ddigon i ti mwy.

## EMYN LUTHER.

Eine feste Burg ist unser Gott
* * * *

### CYFIEITHAD.

Ein noddfa gadarn ydyw 'n Duw
  Ac Ef yw 'n hamddiffynfa:
Efe a'n gweryd ni bob cam,
  O'r drwg sydd am ein difa.
Y gelyn hen, y sarff mewn bâr,
  Sydd i'n yn darpar galar;
Ei nerth sy fawr, a'i ystryw heb
  Ei ail ar wyneb daiar.

Pe 'n llawn y byd o'i ddeiliaid drwg
  Llawn gwŷn, a gwg, i'n cynllwyn;
Nid ofnem hwynt, ein gwaith a lwydd,
  Mae 'r Arglwydd yn ein hamŵyn,
Os ef ei hun, eu llywydd ffrom,
  Annelai atom saethau:
Niwaid ni chaem, gorchfygem ef,
  Can's gair Duw nef yw 'n cleddau.

Trwy 'n nerth, a'n gallu ni, a'n grym
  Ni lwyddem ddim i'w erbyn;
Mae Un a ymladd dros y gwàn
  Pwy yw Efe? a'n diffyn;

Sef Iesu Grist ; ac Ef yw 'n Pen, 21
Ein Cadpen, ac ein Harglwydd :
Ennill y maes ; a'i nawdd i'r gwàn
Fydd darian rhag pob aflwydd. 24

Gair Duw a saif, hwy welant hyn,
Er maint yw eu cynddaredd,
Mae genym Hwn, a'i gysur Ef
Yw 'n tangnef a'n gorfoledd. 28
Cymmerent 'n cyrff, a'n gwragedd glan
Ein plant a'n tiroedd hefyd,
Ni fyddant gwell, cawn eto fyw
Yn nherynas Duw mewn eilfyd. 32

## MAWL I DDUW.

Clod a mawl i'r Arglwydd Dduw, Haleluiah !
Am fendithion o bob rhyw ; Haleluiah !
Ond yn benaf moler Ef, Haleluiah !
Am foddion gras, a gobaith nef. Haleluiah ! 4

Clod a mawl o hyd, o hyd, Haleluiah !
I Waredwr mawr y byd ; Haleluiah !
Cyfaill pechaduriaid yw, Haleluiah !
Canwn iddo tra fo 'm byw. Haleluiah ! 8

Unwn oll mewn nefawl gân, Haleluiah !
I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan : Haleluiah !
Tri yn Un, ac Un yn Dri, Haleluiah !
Iachawdwriaeth i'n Duw ni. Haleluiah ! 12

## DAIONI DUW.

Nid yw 'r mor, a'i lawnder mawr,
Ond fàl dyferyn,
Wrth fôr maith daioni Duw;
Môr maith diderfyn!
Yn dylifaw i lawr i'r byd,
O'r nef i ddynion;
Minnau o hono 'n yfed sydd
O hyd yn gysson.

## Y DUWDOD.

"Yr ynfyd a ddywedodd yn ei galon, Nid oes un Duw." Psalm xiv. 1.
"Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ei ddwylaw Ef." Psalm xix. 1.

Mae 'r holl gre'digaeth faith
Yn dangaws in' fod Duw,
A dywed yn ei hiaith,
Mai Hollalluawg yw:
Y byd, yr haul, y lloer a'r ser,
Ei waith ef ŷnt, Tragwyddawl Ner!

Nis gellir gwadu Duw,
Annuwiawl fyddai 'r iaith,
I bawb môr amlwg yw,
Ond edrych ar ei waith:
Mae Duw! mae Duw! un Duw byw sydd
Medd myrdd o fydoedd nos a dydd.

## PLANT YR YSGOL.

Crist a gâr â'r cariad puraf,
*Câr cywir yw*,
Uwchlaw brawd a'r chwaer anwylaf,
*Câr cywir yw.*
Cyfaill yw mewn cyfyngderau,
Cyfaill yw yn caru maddeu,
Gyda'g Ef nid ofnaf angau.
*Câr cywir yw.*

Cyfaill yw i bechaduriaid,
*Câr cywir yw*,
Ef yw gwrthrych hoff fy enaid,
*Câr cywir yw*,
Gall cyfeillion byd gyfnewid,
Gan roi imi boen a gofid;
Mae Iesu Grist yn ddigyfnewid.
*Câr cywir yw.*

## LLEDAENIAD YR EFENGYL.

### CYFIEITHAD.

"From Greenland's icy mountains,"
* * * *
HEBER.

O Ynys Ia fynyddig,
O'r India, gwrel wlad,
Lle tawl ffynonau Affrig
Eu tywawd aur yn rhad;

O finion hen afonydd,
  O ddolydd palmwydd îr,
Y gelwir arnom beunydd
  I ddwyn eu gwlad i'r gwir.

Pwy dda os per awelon
  Dros Ceylon 'chwaif yn hael,
Pa les olygfa dirion,
  Tra dyn ei hun yn wael!
Heb les er mewn tyneri,
  Rhoir rhoddion nef ar daen,
Tra 'r Pagan, yn ei ddellni,
  Yn crymmu i bren a maen.

A allwn ni a brofodd
  Ddoethineb Duw nacâu
I dywyll rai o'n gwirfodd
  Roi lamp i'w goleuhâu?
Iechineb! pawb cyhoedded,
  Cyhoedder fore a hwyr,
Nes i bob cenedl glywed
  Am y Messiah yn llwyr.

Dos wynt! â'r newydd allan,
  Chwi ddyfroedd yr un pryd,
Nes fàl môr harddwych llydan
  Y töa wyneb byd;
Nes tros hil Adda ddedwydd
  Yr Oen, er marwawl glwy',
Yn Frenin, Crewr, Gwr'edydd,
  Mewn hedd deyrnasa mwy.

## YR EMYN

**A ddarllenir, neu a genir, yn nghorff y gwasanaeth o urddaw Gweinidogion yn ol trefn Eglwys Loegr.**

**"Come Holy Ghost our souls inspire,
And lighten with celestial fire."**

* * * *

### CYFIEITHAD.

Tybed i'n plith, O Ysbryd Glan!
*Goleua ni â'th nefawl dân.*
Enneiniawg Ysbryd ydwyt ti,
*Saith barth o'th radau rho i ni:* 4
Dy wiw enneiniad, nefawl ddawn,
*Sydd gysur, bywyd, cariad llawn.*
Symuda hwnt, o ddydd i ddydd
*Y dellni dros ein llygaid sydd:* 8
Par di lawenydd yn ein gwedd
*Trwy roi i'n ras a nefawl hedd:*
Elynion rif, O! cadw draw:
*Diogel fyddwn yn dy law.* 12
Dysg in' adnabod yn gyttun,
*Tad, Mab, ac Ysbryd Glan, Tri yn Un;*
Màl yn oes oesoedd, yn ddidawl,
*Y byddo hyn ein cân, a'n mawl,* 16
Mawl iti byth, i Ti bo 'n cân,
Y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan.

### ANGEU A THRAGWYDDOLDEB.

Mae fy nyddiau bron a darfod;
Mae fy oriau bron ar ben;
Mae y goeden gwedi ei thori
A fydd i mi yn arch o bren: 4

Yn y bedd, yn nghrombil daiar,
  Rhoir fy nghorff yn salw ei wedd,
Ond pa le y bydd fy enaid,
  Ni fydd hwnw yn y bedd.

O fy enaid, Pa le byddi?
  Ai yn uffern, ai yn nef,
Pan fo 'r corff â phob rhyw bryfed,
  Yn ymborthi arno ef?
Wrth ofyn hyn yr wyf yn crynu
  Yn fy enaid, yn fy nghnawd;
Ni allaf fi, os medr ereill
  Droi 'r gofyniad hyn yn wawd.

Credu yr wyf bod nef ac uffern
  A bod o'm blaen dragwyddawl fyd,
Lle y byddaf mewn dedwyddwch,
  Neu mewn trueni bythawl hyd;
A chredu 'r wyf y bydd fy enaid,
  Er y bedd a'r pryfed mân,
Ail gartrefu 'm corff mewn gwynfyd
  Neu mewn gwae yn uffern dân.

Gan fy mod fel hyn yn credu,
  Credu ar sail efengyl Crist:
Na ryfedded dynion digred
  Bod fy meddwl weithiau 'n drist.
Chwilio 'r ydwyf, holi 'n fanawl,
  Chwilio, holi, nos a dydd,
Gan fod angeu a thragwyddoldeb,
  Ai mewn gwynfyd f' enaid fydd?

## AMSER.

Amser, amser, sydd yn hedeg,
  Minnau 'n myned gyd âg ef;
I wlad bell yr wyf yn teithiaw,
  Enw hon yw Teyrnas Nef,
    Ysbryd Sanctaidd,
  Arwain i fi ben fy nhaith.

Amser, amser, O môr gyflym,
  A diorphwys ar ei daith;
Fy rhybyddiaw mae ef beunydd
  Nad yw 'm gyrfa yma 'n faith;
    Ond tragwyddawl,
  Fydd yr yrfa sydd o'm blaen.

## ANGEU.

Angeu ! angeu ! pan ddaw ataf,
  Rhag ei gledd ni allaf ffoi;
A'r bedd a'm derbyn yn ei fonwes,
  Buan caiff ei barotôi.
Edifeirwch dod im', Arglwydd !
  A maddeuant, a dy hedd,
Cyn yr hunwyf yn yr angeu,
  Cyn gorweddwyf yn y bedd.

Angeu ! Angeu ! pan lefara,
  Rhaid ymostwng iddo ef;
Brenin dychryniadau ydyw,
  Dan awdurdod Brenin nef.

Gelyn marwol i'r annuwiol,
  Ond i'r sant ei gyfaill yw ;
Yn lle niweid, bydd i angeu
  Wneyd daioni i blant Duw.

## DYDD Y FARN FAWR.

Dydd barn fydd hwnw, pan fo 'r tân
  Yn llosgi 'r byd yn llwyr ;
A'r holl elfenau gan wir wres,
  Yn toddi megys cŵyr,
Ofnadwy ddydd ! dydd dychryn braw,
  Dydd mawr digofaint Duw ;
Dydd fydd i Farnwr mawr y byd
  Farnu 'r meirw a'r byw.

Llais udgorn Duw, mewn nerthawl floedd,
  A draidd trwy 'r beddau oll ;
Cyfyd y meirw, pawb yn fyw ;
  Pob un, heb un ar goll.
Ac angeu 'n syn yn sefyll fydd,
  Pan wêl ei feirw yn fyw,
Yn cael eu cludaw o bob cwr
  Ger bron gorseddfainc Duw.

A'r holl genhedloedd o bob oes,
  O bob rhyw lwyth, ac iaith,
A fernir gan gyfiawnder pur,
  Pob un yn ol ei waith.

Gwybodus fydd i'r Barnwr mawr 21
Pawb oll; pob drwg; pob da;
Cyfiawn ac Hollwybodawl yw,
Cyfiawnder Ef a wna. 24

## Y WLAD BELL.

"Cysgodd Tegid wrth y tân nos Lun,[1] Mawrth 29, 1852, ac a freuddwydiodd ei fod yn myned allan o'i wlad i'r Amerig: ac yn ei freuddwyd y canodd y pennill isod. Ac yn y fan ar ol gwneuthur y pennill, deffraw a wnaeth; a chyn anghofiaw o hono y pennill, ysgrifenodd ef i lawr."

---

Deuwch yma, fy nghyfeillion,
Nid oes genyf gynghor gwell,
I roi i chwi wrth ymadael
Wrth ymadael i wlad bell; 4
"Ciliwch bawb oddiwrth ddrygioni,
Na wnewch ddrwg tra byddoch byw;
Ymarferwch â duwioldeb,
Ac ufyddhewch i ddeddfau Duw." 8

[1] Pum wythnos namyn diwrnod cyn ei farwolaeth.

# SUBSCRIBERS' NAMES.

---

HIS HIGHNESS PRINCE LOUIS LUCIEN BONAPARTE
The Right Hon. The Earl of Cawdor
The Right Hon. Lord Dynevor £1
The Right Hon. Viscount Emlyn
The Right Hon. Lord Llanover
The Right Hon. Lady Llanover
The Right Rev. The Lord Bishop of St. David's 2 Copies
The Right Rev. The Lord Bishop of St, Asaph £2
The Right Rev. The Lord Bishop of Llandaff
The Right Rev. The Lord Bishop of Bangor, (deceased)
The Lady Charlotte E. Schreiber
Rev. Sir Erasmus H. G. Williams, Bart., Chancellor of St. David's
T. Peers Williams, Esq. M.P. Craigydon, Bangor
Sir Robert Williams Vaughan, Bart., Rûg, Corwen, (deceased) 2 Copies
Major General Morgan, St. Helen's, Swansea
General Lord George Paget
David Jones, Esq. M.P., Pantglas, Carmarthenshire
Davies, D. A. Saunders, Esq. M.P., (deceased)
Sir W. Williams Wynn, Bart., M.P.
Morris, David, Esq. M.P., Carmarthen
Booker, T. W. Esq. M.P., Velindre, (deceased)
The Very Rev. The Dean of St. David's 2 Copies
The Ven. Arch. Newcombe, Llanrhaiadr Vicarage, Denbigh, (deceased)
The Rev. Chancellor Williams, Bassaleg Vicarage, Newport, Mon.
Bedlington, Mr. Richard, Rhymney Iron Works
Bowen Mr. Benjamin, Barrossa Cottage, Cardiff
Bowen, Mr. David, *(Dafydd ab Owen,)* Llanelly
Bowen, Mr. H. P., Queen's Terrace, Middlesborough, Yorkshire
Brereton, Mr. Andrew Jones, *(Andreas o Fôn,)* Mold
Briscoe, Rev. T., B.D., Vicar of Holyhead 2 Copies
Caradawc, Abergavenny
Clarke, Mr. Isaac, Ruthin
Charles, Rev. D., B.A., Trevecca College

Cymrodorion Society The, Merthyr Tydvil
Davies, David, Esq. Castle Green Cardigan
Davies, Mr, David, Abercorris, Machynlleth
Davies, Mr. David, Victualler, 29, Union Street, Liverpool
Davies, Mr. David, Cooper, Talog, Carmarthen
Davies, Mr. David, Fishguard and Cardigan Bay, Cardiff 2 Copies
Davies, Mr. Henry, (*Talddifyr,*) Tanyrhiw, Llanegwad
Davies, Mr. Isaac, Penlan, Tregaron
Davies, Rev. Henry H., Llangoed, Beaumaris 2 Copies
Davies, Rev. John, Roman Catholic Church, Brecon
Davies, Rev. J., Independent Minister, Aberaman
Davies, Mr. John, Ystalyfera, Swansea
Davies, Rev. J. G., Llangyfelach, Swansea
Davies, J. Lloyd, Esq., Blaendyffryn
Davies, J. John, Esq. Surgeon, Eglwyswrw
Davies, Mr. Owen, (*Eos Llechid,*) Llanllechid, Bangor
Davies, Rev. Thomas, M.A., Treberfedd, Lampeter
Davies, Rev. Thomas, M.A., Trevethin Parsonage
Davies, Mr. Thomas, Henllan, Newcastle Emlyn
Davies, Mr. T. Jones, Chemist, Llandilo
Davies, Rev. W., Ph.D., Presbyterian College. Carmarthen
Davies, Mrs. Vronheulog, Bala 2 Copies
Davies, Miss, Brynhyfryd, Towyn
Davis, Frederick, Esq. Ty'nrhos, Gentleman Farmer
Davis, Rev. John, B.D., Llanhowell, Pembrokshire
Dewi Wyn o Esyllt, Dinas Powis, Cardiff
Ebbw Vale, Literary and Scientific Institution
Edmond, Mrs. Union Street, Carmarthen
Edmund, Rev. W., Grammar School, Lampeter
Edwards, T., Esq. (*Carnfaldwyn*) St. David's College, Lampeter
Edwards, Mr. Thomas, Glynneath
Evans, Rev. D., Vicar of Aberavon
Evans, D., Esq. New Quay, Cardigan 2 Copies
Evans, Rev. R. Cilgeran, Cardigan
Evans, Mr. David Meredyth, Waterloo House, King's Cross, London
Evans, Rev. Daniel Silvan, Llangïan, Pwllheli
Evans, Rev. Edward, B.A., Vicar of Llanasa
Evans, Rev. Edward, Halkyn Rectory, Holywell 2 Copies
Evans, Mr. John, (*Ieuan Powys,*) Farnly Street, Liverpool
Evans, Mr. J., at the Rev. J. Evans, Cemmaes
Evans, Mr. J., Penywig, New Quay, Cardigan 2 Copies
Evans, Rev. James, Curate, Llandrillo, Corwen
Evans, Rev. J., Capel Sion, near Llanon
Evans, Rev. R., Vicar of Margam
Evans, Rev. J. Higgon, B.D. Vicar of Merriot, Somersetshire
Evans, Mr. Thomas P., (*Mabon,*) Ystrad Shop, near Caerphilly
Evans, Mr. W., Neuadd, New Quay, Cardigan
Evans, William, Esq. Plymouth Iron Works 2 Copies

Evans, William, Esq. Alltycadno, Llangyndeyrn
Eyton, J. W. K., Esq. F.S.A., 10A Portsdown Road, Maida Hill, London
Fenton, John, Esq. Glynymêl, Fishguard
Francis, George Grant, Esq. F.S.A., Cae Bailey, Swansea
Francis, Mr. Priory Street, Carmarthen
Ffoulkes, Miss, Ffynon Ddofn, Nevern 2 Copies
Gilbertson, Isaac, Esq. Bala
Griffith, Rev. J., Curate of Llanon
Griffiths, Rev. Arthur, Llanelly Parsonage, Abergavenny
Griffiths, Mr. James, Baileyglâs
Griffiths, Rev. James, Vicar of Llangunnor
Griffiths, Rev. John, B.D., Llandilo
Griffiths, Rev. John, Salem, Llandovery
Griffiths, Rev. T., M.A. Llanfawr Vicarage, Corwen
Griffiths, John, Esq. 110, Buckingham Terrace, Liverpool
Griffiths, Mr. John, Caenant, Llanrug
Griffiths, Mr. Thomas, Attorney's Clerk, Aberystwyth
Griffiths, Rev. Walter, B.D., Resolven, Neath
Griffiths, Mr. W., Gwendraeth Cottage, Pontyberem
Griffiths, Mr. Brecon Road, Abergavenny
Gwyndaf Hen, Llanymowddwy
Gwynne, Rev. E. H. A., St. Paul's, Tipton, Staffordshire
Harries, Rev. G. C. F., M.A., Rector of Llandefaelog Vach, Brecon
Harries, Mr. Joseph, Werndew, Dinas Cross, Pembrokeshire
Harries, Rev. W., Vicar of Llanarthney
Harries, Rev. W., Curate of Penboyr
Heaton, Rev. W. C., B.D., Fellow of Jesus College, Oxford
Herbert, Rev. Watkin, Llanycrwys
Hopkins, — Esq. M.D. Goytre, Wern, Carmarthen
Howel, Mr. Rhys, *(R. H. Dyfed,)* Llanddewi-Velfrey 2 Copies
Howell, Rev. George, Llangattock Rectory
Howell, Thomas, Esq. White House, Builth
Howell, Mr. W., *(Gwilym Ddu,)* 16 Skinner's Street, Newport, Mon.
Hughes, Rev. Hugh, *(Hugh Derfel,)* Pendinas, Llandegai
Hughes, Rev. Morgan, Vicar of Corwen
Hughes, Rev. Isaac, P. Curate, Mynyddislwyn
Hughes, James, Esq. Glanrheidol, Aberystwyth
Hughes, Rev. John, Vicar of Penbryn, Newcastle Emlyn
Hughes, Rev. Joseph, *(Carn Ingli,)* Meltham
Hughes, Rev. J., R.D., Vicar of Llandovery
Hughes, Rev. J., Curate, Velinfoel, Llanelly
Hughes, Rev. J., Vicar of Tregaron
Hughes, John, Esq. *(Ieuan Alaw,)* Llanerchymedd, Anglesey
Hughes, Mr. Thomas, Neuaddfawr, Llanwnen
Hughes, Rev. Thomas J., M.A., Northop, Flint
Hughes, Timothy D., Esq. High Street, Neath
Hughes, Rev. R. O., Curate of Llanrhaiadr, Denbigh
Hughes, Mr. R. P., *(Gomer ab Tegid,)* Llanfynydd

Hughes & Son, Messrs. R., Booksellers, Wrexham
Hughes, Mr. W. M., *(Gwawdrydd,)* High Street, Bangor
Hunt, Mr. John, Manufacturer, Pontnewynydd, Pontypool
James, Rev. D. Ll., Incumbent of Pont Robert
James, Rev. D. O., M.A., Rector of Llanllawer, Fishguard
James, Rev. James, *(Iago Emlyn,)* 14 ,Frederick Place, Clifton
James, Mr. John, District Surveyor, Parkyllyn, Fishguard
James, Rev. T. Evan, Neath
Jenkins, Rev. Canon, Dowlais Rectory
Jenkins, Mr. Joseph, Trecefel, Tregaron
Jenkins, Rev. R. T., Vicar of Mydrim, St. Clears
Jenkins, R. D., Esq. Pantirion, Cardigan
Johnes, A. J., Esq. Garthmyl, Shrewsbury
Johnes, John, Esq. Dolaucothy, Carmarthenshire
Jones, Mr. Albion House, Carmarthen
Jones, Mr. Aneurin, Newport, Monmouthshire
Jones, B., Esq. Goring Place, Llanelly
Jones, Mr. B., Whitland
Jones, C., Esq. Tŷ'ncoed Arthog, Barmouth
Jones, Rev. Daniel, Vicar of Llandefeilog
Jones, David, Esq. 21, Eastcheap, London
Jones, Rev. D., B.A., Rector of Kilybebyll, Neath — 2 Copies
Jones, Mr. David, near Yspytty Ystwyth, Aberystwyth
Jones, Mr. D. H., Waunwen, Swansea
Jones, Mrs. D. L., Union Street, Carmarthen
Jones. Mr. D. W., Post Office, Llandilo — 3 Copies
Jones, Ellis, Esq. Surgeon, 30, Gildart Street, Liverpool
Jones, Rev. Evan, Curate of Llandyssil
Jones, Mr. Evan, 124, Aldersgate Street, London
Jones, Mr. Evan, Draper, Carmarthen
Jones, Mr. Evan, Merthyr Tydvil
Jones, Mr. Hugh, 33, Prussia Street, Liverpool
Jones, Rev. J., Vicar of Pembrey, Llanelly
Jones, Rev. John, Vicar of Llanfihangel Geneu'r Glyn
Jones, Rev. John, B.A., Hermon, Llandilo
Jones, Mr. J., 30, Edward Street, Blackfriars, London
Jones, John, Esq. Gwyndy, Llanfaircaereinion
Jones, Rev. J., Curate of St, Michael's, Blaina, Monmouthshire
Jones, Rev. J., *(Idrisyn,)* Llandyssiliogogo
Jones, Mr. John, Tailor, near Pentre Estyll, Swansea
Jones, Mr. John, Aberdare
Jones, J. Lewis, Esq. Pontardawe
Jones, J., Esq. Surveyor of Taxes, Carnarvon
Jones, J. Jacob, Esq. Llangenech — 2 Copies
Jones, Rev. J. L.
Jones, Lewis D., Esq. Carmarthen
Jones, Mrs. Mary, Court, Aberystwyth
Jones, Rev. Michael, Bala — 3 Copies

Jones, Rev. Rees, Incumbent of Penmaen, Newport Monmouthshire
Jones, Mr. Richard, Dowlais
Jones, Mr. Richard, Cwrtnewydd, Llandysiliogogo
Jones, Rev. Robert, M.A., All Saints Parsonage, Rotherhithe
Jones, Mr. Robert, Bookseller, Bethesda
Jones, Rev. R. Bowen, Rector of Kilmaenllwyd
Jones, Rev. T., M.A., Sporle, Norfolk
Jones, Thomas, Esq. Penisa'rllan, Bala
Jones, Thomas, Esq. Peake's Lane, Denbigh
Jones, Mr. Samuel, Saddler, Newcastle Emlyn
Jones, Rev. W., Incumbent of Brymbo, Wrexham
Jones, Mr. W., 4, Victoria Road, Ebbw Vale, Newport, Mon.
Jones, Mr. Walter R., Draper, Rhayader
Jones, Miss, Nantremenyn, Llandyssil
Joseph, Joseph, Esq. F.S.A., Brecon
Lewes, William Price, Esq. Llysnewydd, Newcastle Emlyn
Lewis, John, Esq. Lammas Street, Carmarthen
Lewis, Mr. John, *(Ioan Mynyw,)* Tregaron 3 Copies
Lewis, D. S., Esq. Victoria Iron Works, Newport, Monmouthshire
Lewis, Mr. Thomas, Mariner, Strand, Cardigan
Lewis, Titus, Esq. *(Titus Ieuange,)* Carmarthen
Lewis, Rev. W. H., Curate of Blaina, Tredegar
Lewis, Mr. William R., Sirhowy Iron Works
Llewellin, William, Esq. F.G.S. &c., Glanwern, Pontypool
Llewelyn, Mrs. Penderel, Llangynwyd Vicarage, Bridgend
Lloyd, Rev. J., Curate of Narberth
Lloyd, William Samuel, Esq. Tŷllwyd, Haverfordwest
Maddox, Charles, Esq. Abergwili
Maddox, Mrs. Lammas Street, Carmarthen
Mathews, Mr. Jenkin, Cashier, Rhymney Iron Works
Meredith, Mr. John, Merthyr Tydvil
Meredith, Rev. W., Rector of Llanfigan, Brecon
Morgan, Rev. D., Minor Canon of Llandaff
Morgan, Mr. David, The Mill, Tregaron
Morgan, Rev. J., Pontnewynydd Parsonage, Pontypool
Morgan, Mr. John, Schoolmaster, Newport, Pembrokeshire
Morgan, Rev. Lewis, B.D., Vicar of Llandybie
Morgan, Rev. Thomas, Llangennech
Morris, Rev. E., R.D., Llanelly
Morris, Lewis, Esq. Mountpleasant, Carmarthen 2 Copies
Morris, T. C., Esq. Bryn Myrddin, Carmarthen
Morris, W., Esq. Carmarthen
Morris, Mr., Coach Office, Carmarthen
Mounsey, Capt. W. H., Cavendish Terrace, Stanivir, Carlisle
Nicholas, Thomas Mr. Arthur, Merchant, Fishguard
Oldfield, Thomas, Esq. Farm, near Abergele
Owen, Mr. David, *(Brutus,)* Bronarthen
Owen, Rev. John, M.A., Thrussington, Loughborough

Owen, Thomas, Esq. Plas Penmynydd, Anglesey
Owen, William, Esq. Tanygirt, Denbigh, (deceased)
Owen, Rev. W. Hicks, M.A., Vicar of St. Asaph
Parry, Rev. D., R.D., Vicar of Llywel
Parry, Mr. David, Gilfach, Llangeler
Parry, Rev. Henry, Bylchau, Henllan, Denbigh
Parry, Mr. Richard, (*Myfyr Mon,*) 66, Islington, Liverpool
Phillips, Mr. Daniel, Aberbank, Capel Drindod, Cardigan
Phillips, Rev. E. Owen, M.A., Warden, Welsh Institution, Llandovery
Phillipps, F. Ll., Esq. Havodneddyn, Carmarthen
Phillips, Rev. Thomas, Hereford
Phillips, Mr. Thomas, Ebbw Vale
Poole, Rev. W. J., Aberffraw Rectory, Anglesey
Price, Thomas Gwallter, Esq. (*Cuhelyn,*) Bristol
Price, Rev. T., M.A., Llanuwchllyn, Corwen
Price, William, Esq. Llanffoist, Abergavenny
Price, W., Esq. Glantwrch, Swansea Valley
Price, William, Esq. Caegaefir, Pontypridd
Prichard, Mr. William, Rhymney Iron Works
Protheroe, Mrs., Dolewilym, St. Clears
Prosser, Mr. Rhymney Iron Works
Pugh, Rev. E., B.D., Vicar of Llanfaircaereinion
Pugh, Rev. J., Curate of Llanbadarnfawr
Pugh, Mr. J., Tyddyn'r Eglwys, Talsarnau, Llanfihangel
Pugh, Rev. John, Vicar of Llangorse, Brecon
Pugh, Mr. John, 72, Tithebarn Street, Liverpool 2 Copies
Quaritch, Mr. Bernard, 16, Castle Street, Leicester Square, London
Raymond, Rev. J., B.A., Ebbw Vale, Newport, Monmouthshire
Reece, W. H., Esq. Solicitor, Birmingham
Rees, Mr. Robert, 6 & 7, High Street, Rhyl
Rees, Mr. William, Publisher, Tonn, Llandovery
Rees, Mr. W. Jenkin, Tonn, Llandovery
Rees, Theophilus, Esq. Cwm, Carmarthen
Reynolds, Mr. Jonathan, (*Nathan Dyfed,*) Merthyr Tydvil
Richards, E. L., Esq. Pentreffynon House, Holywell
Richards, J., Esq. (*Iocyn Ddu,*) Bronmenai, Carnarvon
Richards, Mr. John, (*Ioan Glan Towy,*) Wernddu, Llanegwad
Roberts, Rev. Aaron, B.A., Curate of St. Peters, Carmarthen
Roberts, D., Esq. Rhymney Iron Works 2 Copies
Roberts, Mr. Robert, (*Lineas Tegid,*) Army Butcher, Bala 2 Copies
Roberts, Mr. J., 101, Parliament Street, Liverpool
Roberts, Rev. William, Blaenau Gwent
Roderic, Mr. David Jones, Bookseller, Llandovery
Rogers, E., Esq Abercarn, Newport, Monmouthshire
Rogers, Miss, Carmarthen
Rosser, Mr. William, Glynneath
Rowland, Rev. D. L., (*Ilwor Ilar,*) Pembrey, Llanelly
Rowland, Rev. Thomas, Penybont Fawr, Oswestry

Rowland, Rev. W., Wesleyan Minister, 47, Park Row, Tredegar
Salisbury, Rev. E. E. B., Thundersley Rectory, Rayleigh, Essex
Salisbury, E. G., Esq. 5, Stanley Place, Chester
Saunders, Thomas Rees, Esq. Perthyberllan, Lampeter
Saunders, The Misses, Glanrhydw 3 Copies
Sinnett, Rev. J., Bangor Rectory, Llangeler
Spurrell, Mr. W., Publisher, Carmarthen
Stephens, Thomas, Esq. Merthyr Tydvil
Talariant, Carmarthen College
Tate, A. T., Esq. Llanelly
Thomas, Mrs. Alfred, Wellfield, Carmarthen
Thomas, Rev. D., Rectory, Llandawcke, Laugharne
Thomas, Mr. D., 36, Plumbe Street, Liverpool
Thomas, Mr. Evan, Wine Merchant, Beaumaris
Thomas, Mr. Ellis, Talbot Hotel, Tregaron
Thomas, G., Esq. Parke, Henllan Amgoed, Whitland
Thomas, Mr. J., Moulder, Dowlais
Thomas, Mr. J., Weigher, Dowlais
Thomas, John, Esq. Tyssil Castle, Llandyssil
Thomas, Mr. John, Post Office, Glynneath
Thomas, Mr. John, Clydach, Abergavenny
Thomas, Mr. J. D., Merthyr Tydvil
Thomas, Rev. Ll. Lloyd, R.D., Rector of Newport, Pembrokeshire
Thomas, Rev. R., M.A., Beaumaris
Thomas, Mr. Rees, Dolellam, Llandyssil
Thomas, R. Goring, Esq. Iscoed
Thomas, R. Goring, Jun., Esq. Iscoed
Thomas. Rev. T., M.A., Welsh Institution, Llandovery
Thomas, Mr. Thomas, Merthyr Tydvil
Thomas, Rev. T. P. C., Llanllwch
Thomas, Mr. S., Hurst House, Laugharne
Thomas, Rev. Thomas, Incumbent of Talley
Thomas, Rev. W., Bwlchnewydd, Carmarthen
Thomas, Mr. W., Bootmaker, Mill Lane, Llanelly
Thomas, W. G. Stedman, Esq. Oak House, Carmarthen
Traherne, Rev. J. M., F.R.S., Coedriglan, Cardiff
Walter, Professor, University of Bonn
Walker, Rev. W. Lewis, Trefriw Rectory, Conway
Walters, Rev. T., Curate of Llangan, Whitland
Walters, Mr. Walter, Blaenywaun, Ystrad, Lampeter
Watkins, Mr. T. E., (*Eiddil Ifor,*) Cwmcelyn Iron Works
Watson, Mr. R., Secretary Cym. Tir Iarll, Pyle
White, Mrs. Bookseller, Merthyr Tydvil
Williams, Rev. D., B.D., Pontarddulais, Llanelly
Williams, Rev. D., St. David's College, Lampeter
Williams, Mr. D., Merthyr Tydvil
Williams, Mr. D. B., (*Gwilym Esgynllaw,*) Bronllys
Williams, H., Esq. Pantycelyn Aberdare

Williams, Rev. J , M.A., Marcross Rectory, Bridgend
Williams, Rev. J., B.A., Vicar of Hope, Mold
Williams ab Ithel, Rev. J., M.A., Llanymowddwy
Williams, Hugh, Esq. St. Clears 2 Copies
Williams, Howell, Esq. Pantygerdinen, Aberdare
Williams, Mr. Phillip, Publisher, Aberystwyth
Williams, Rev. T., Llangwm Rectory, Corwen
Williams, Rev. R., B.D.
Williams, Rev. R., B.A., Magdalen Hall, Oxford
Williams, Mr. R., Merthyr Tydvil
Williams, Rev. Robert, M.A., Vicar, Clynog, Carnarvonshire
Williams, Rev. Robert, M.A , Rhydycroesau, Oswestry
Williams, Mr. Rowland, Dinorwig House, Llanberis
Williams, Rev. W , M.A., Vicar of Llanrhaiadr yn Mochnant
Williams, Mr. William, (*Gwilym ab Rhys*,) Llanspyddid, Brecon
Williams, Rev. W., Rector of Llandyfnan, Tyddyn Pentraeth, Anglesey
Williams, Rev. W. J., M.A., Glamorgan St., Brecon
Winwood, Mrs. Cheltenham 2 Copies
Yorath, Mr. R. J., Cardiff

WILLIAM REES, ARGRAFFYDD, LLANYMDDYFRI.

